# GRAMADEG CERDDORIAETH;

YN NGHYDA

## GEIRLYFR ENWEDIGAETHOL,

YN CYNWYS

EGLURHAD AR Y GEIRIAU ANNGHYNEFIN A ARFERIR YN Y GWAITH.

GAN JOHN MILLS, *Ieuan Glan Alarch,*

AWDWR "HYFFORDDWR YR EFRYDYDD."

LLANIDLOES:
ARGRAFFWYD GAN JOHN M. JONES.
1838.

I

B. JONES, YSWAIN,

VAENOR PARK, LLANIDLOES,

**Y Gramadeg hwn,**

Y CYNTAF ERIOED YN Y GYMRAEG,

A GYFLWYNIR,

FEL ARWYDD O BARCH DILEDRYW,

A

CHYDNABYDDIAETH DDIOLCHUS,

AM EI GEFNOGAETH I'R GWAITH,

GAN

EI UFYDDAF WASANAETHYDD,

YR AWDWR.

# RHAGYMADRODD.

FY NGHYDWLADWYR HYNAWS,—

YR hyn a'm cymhellodd i ddwyn y gwaith canlynol allan, oedd gweled fod cerddoriaeth mewn agwedd a sefyllfa dra isel yn ein plith fel cenedl, yn neillduol cerddoriaeth *eglwysig*.

Y mae yn wir nad oedd y pwnc yn hollol ddisylw gan awdwyr yn mhlith y genedl; ond nid oedd wedi ei ddiwyllio yn debyg i'r graddau y dysgwylid ei fod yn mhlith cenedl mor hoff o ganu a chenedl y Cymry. Nid oedd neb yn ymaflyd yn y gorchwyl o egluro elfenau y wybodaeth—gosod ger bron yr holl gyfundraeth yn rheolaidd, a'i chymhwyso at yr iaith a'r genedl. Y diffyg yma a'm cymhellodd i gyhoeddi y Gamadeg hwn.

Yr awdwyr a aethant o'm blaen, (a'r a wn i am danynt,) ydynt O. Williams, o Fôn; Ieuan Ddu, o Abertawy; a'm cyfaill W. Owen, Drefnewydd.

Buasai yn hoff genyf roddi darluniad o weithiau y gwyr hyn ger bron, er mwyn dangos ar ba dir yr oedd cerddoriaeth yn sefyll yn eu gweithiau hwy, yn nghyda rhoddi mantais i'r darllenydd eu cymharu â'r Gramadeg hwn; ond ni chaniata ein terfynau ar hyn o bryd. Canys yr wyf yn credu fod pob awdwr fyddo yn gydwybodol ei fod yn teilyngu sylw y wladwriaeth, (ac oni fydd yn gydwybodol yn hyn ni ddylai ysgrifenu mewn un modd,) nid yn unig yn dymuno cael ei gymharu â'r rhai a aethant o'i flaen, ond hefyd a

ymdrecha ddwyn hyny yn mlaen ei hunan—trwy ddangos pa beth a wnaethant hwy, ac yn mha beth y mae yn ystyried ei hun yn rhagori arnynt, ac felly yn teilyngu sylw. Os gwneir hyn yn deg a difaleisus, y mae, nid yn unig yn gyfiawn, ond yn foneddigaidd hefyd. Ond gellir dywedyd hyn, nad oedd yr awdwyr uchod (oddi eithr O. W.) yn amcanu at ddim amgen nâ chyfarwyddo y dysgybl i fod yn ganwr rheolaidd a deallgar.

Nid wyf am honi fod y cwbl o'r Gramadeg yn gyntefig; nid oedd hyny i'w ddysgwyl na'i ddymuno: er, efallai, y saif yn uchel yn y golygiad hyny wrth ei gymharu â llyfrau ereill ar gerddoriaeth. O'r tu arall, nid cyfieithiad yw o unrhyw awdwr neu awdwyr; na dylyniad o un yn fwy nâ'u gilydd. Eglurir yr egwyddor mewn ychydig eiriau wrth ba un y darfu i mi lynu, yn nhudal. 173.

Yr oedd yr egwyddor hon yn fy rhwymo i ddal sylw manwl ar bob awdwr oedd yn fy nghyrhaedd, ac i dynu dwfr o bob ffynnon alluadwy i mi, wrth fyned yn mlaen, er fod y pwnc wedi bod yn brif destun fy myfyrdod am flynyddoedd yn fy nyddiau boreaf, ac i raddau mwy neu lai, hyd yn bresenol.

Fy nhaer weddi a dymuniad yw, ar fod i'r Gramadeg hwn ateb dyben ei gyhoeddiad; sef adferyd a chynyddu gwir gerddoriaeth eglwysig yn ein plith, a'i sylfaenu ar attegion na syflir drwy holl oesoedd y ddaear.

IEUAN GLAN ALARCH.

LLANIDLOES,
*Mehefin* 12fed, 1838

# CYNWYSIAD.

## RHAN I.

### *NODIANT CERDDORIAETH.*


PEN. I.—Yr erwydd . . . 1
PEN. II.—Allweddau . . . 2
PEN. III.—Nodau a'u Gorphwysion . . . 3
PEN. IV.—Amser a'i guriad . . . . . 5
PEN. V.—Arwyddnodau . . . 11
PEN. VI.—Addurnnodau . . . 13


## RHAN II.

### *PERORIAETH.*


PEN. I.—Y Graddfaau . . .
Adran 1. Y raddfa naturiol . . . 15
———2. Y raddfa oslefol . . 22
———3. Y raddfa orseiniol . . 29
PEN. II.—Y cyweiriau . . . . 34
PEN. III.—Trawsddodiad . . . . 40
Adran 1. Trawsddodiad trwy lonnodau . . 41
———2. Trawsddodiad trwy leddfnodau . 48
PEN. IV.—Trawsgyweiriant . . . . 53
Adran 1. Trawsgyweiriant o'r cyweirnod llon . 55
———2. Trawsgyweiriant o'r cyweirnod lleddf 72
PEN. V.—Aceniaeth . . . 92
Adran 1. Am y corfan rywiog . . . 97
———2. Am y corfan talgrwn . . 101
———3. Am y corfan crychddisgynedig . 112


## RHAN III.

### *CYNGHANEDD.*


PEN. I.—Y Cydseiniaid . . . 126
Adran 1. Y cord cyffredin . . . 126
——— 2. Cord y chweched : . . 132
——— 3. Cord y chweched a'r pedwarydd . 133
PEN. II. Yr annghydseiniaid cynrywiol . 137
Adran 1. Cord y seithfed . . 137
——— 2. Y cord chwe phump . . 140
Adran 3. Y Cord pedwar tri . . 141
——— 4. Y Cord pedwar dau . . 142
——— 5. Y Cord saith pedwar dau . . 143

PEN. III. Yr Annghydseiniaid trwyddedol . 148
Adran 1. Yr annghydseiniaid cydbwysol . 149
——— 2. Yr annghydseiniaid addurnol . 151
PEN. IV.—Parotoad, &c. yr annghydseiniaid 154
PEN. V.—Diweddebau . . . 157
PEN. VI.—Trawsgyweiriant . . . . 160
PEN. VII.—Amrywion . . . 160
Adran 1. Cordiau gwreiddiol a chynrywiol . 164
——— 2. Tarddiad yr holl gordiau . . 166
——— 3. Trysawd . . . 167

## RHAN IV.

### *CYFANSODDIANT.*

Rhagdraeth ar Natur ac Elfenau Cerddoriaeth . 168
Adran 1. Cerddoriaeth . . . 169
——— 2. Cerddoriaeth Eglwysig . . 187
——— 3. Cerddoriaeth Eglwysig Gymreig . 201
PEN. I.—Y gorphwysfaau . . . 225
Adran 1. Mesur Byr Cymreig . . 226
——— 2. Mesur Cyffredin . . . 227
——— 3. Mesur Hir . . . 228
PEN. II.—Cyfansoddiad Peroriaeth . . 231
Adran 1. Mater neu bwnc y cyfansoddiad . 232
——— 2. Y prif seiniau . . . 233
PEN. III.—Cyfansoddiad Cynghanedd . 235
Adran 1. Symudiad y cydseiniaid . . 236
——— 2. Cynghanedd addurnol . . 239
PEN. IV.—Cyfansoddiad gwahanol leisiau. . 241
PEN. V.—Trwyddedau Cyfansoddi . 245
Adran 1. Defnyddiad y cydseiniaid . . —
——— 2. Defnyddiad yr annghydseiniaid . 247
——— 3. Dylyniant . . . 249
PEN. VI.—Defnyddiad y gorphwysfaau . 251
Adran 1. Defnyddiad yr Adran . . —
——— 2. Defnyddiad y Dosran . . —
——— 3. Defnyddiad y Diweddnod . . 252
PEN. VII.—Defnyddiad Trawsgyweiriant . 253

### *ATTODIAD.*

PEN. I.—Ymarferiad y Llais . . . 256
PEN. II.—Canu yn deledіw . . . 258
Geirlyfr . . . . 264

# GRAMADEG CERDDORIAETH.

## RHAN I.

## Nodiant Cerddoriaeth.

NODIANT yw y rhan hyny o gerddoriaeth sydd yn egluro y darlunnodau a ddefnyddir ynddi.

### PENNOD I.

### *YR ERWYDD.*

YR erwydd yw pum llinell wedi eu gwneuthur y naill uwch y llall; fel hyn,



Ar y llinellau, ac yn y cyfryngau hyn, y gosodir penau y gwahanol nodau. Wrth gyfrif llinellau yr erwydd, dechreuir yn y gwaelod; fel hyn,




Y cyfryngau hefyd yr un modd; fel hyn,




Gwelir yn awr fod yr erwydd yn cynwys naw o raddau; sef pum llinell, a phedwar cyfrwng.




Os bydd eisiau chwaneg o nodau nâ'r rhai hyn, gellir

chwanegu dau atynt, heb wneuthur un cyfnewidiad; fel hyn,




Os bydd eisiau chwaneg nâ'r unarddeg hyn, gellir eu chwanegu i'r nifer a fynis, drwy wneuthur gorlinellau islaw, neu oddiar, yr erwydd; fel hyn,




Sylw. Cyfrifer y llinellau a'r cyfryngau oddiar yr erwydd, tuag i fyny; ond islaw yr erwydd, tuag i lawr, fel y gwelir wrth y rhifnodau uchod.

---

## PENNOD II.

## *ALLWEDDAU.*

Yr allwedd sy fath o ddarlun a roddir ar un o linellau yr erwydd, i'r dyben o benodi sefyllfaoedd y nodau.

Nid oes ond dau fath o allweddau mewn arferiad yn bresenol, ac a adnabyddir wrth y llythyrenau g ac ff.

1. Yr allwedd g a nodir fel hyn,



ac a ysgrifenir bob amser ar yr ail linell. Gelwir yr allwedd yma ar enw y lythyren g, am ei fod yn rhoddi y sain hyny i'r linell ar ba un yr ysgrifenir; fel y dangosir wrth yr angraifft ganlynol.




2. Yr allwedd ff a nodir fel hyn,



ac a ysgrifenir bob amser ar y bedwaredd linell. Gelwir yr allwedd yma eto ar enw y lythyren ff, am ei fod yn rhoddi y sain hyny i'r linell ar ba un yr ysgrifenir; fel y dangosir wrth yr angraifft ganlynol:




Sylw. Defnyddir yr allwedd g at bob llais o'r erddygan, ond yr isalaw yn unig; a'r allwedd ff at y llais hyny.

---

## PENNOD III.

### *NODAU A'U GORPHWYSION.*

1. Y nodau ŷnt arwyddion y gwahanol seiniau a ddefnyddir mewn cerddoriaeth. Nid oes ond chwe math mewn arferiad yn bresenol, pa rai sydd yn amrywio mewn *llun, enw,* ac *amser.*

LLUN AC ENWAU Y NODAU.



Banig Adfanig Gorfanig Crychyn Adgrychyn Gorgrychyn

Ni a chwanegwn yma daflen yn egluro cyfartalwch y nodau, yn eu hyd amserol.



Wrth y daflen hon, fe welir fod un banig yn cynwys dau adfanig, pedwar gorfanig, wyth crychyn, unarbymtheg adgrychyn, a deuddeg ar hugain gorgrychyn.

2. Y gorphwysion ydynt fath o luniau a ddefnyddir i gyflawni yr amser pan fo llais neu leisiau yn attal yn yr erddygan.

TAFLEN O'R GORPHWYSION.



Banig. Adfanig. Gorfanig. Crychyn. Adgrychyn. Gorgrychyn.

Dylid dystewi wrth y gorphwysion hyn, cyhyd ag y byddid yn canu y nodau perthynol iddynt.

Sylwer hefyd, mai y gwahaniaeth rhwng gorphwysnod y banig a'r adfanig, yw, bod y blaenaf is y linell, a'r olaf uwch y linell. Y mae gwahaniaeth y lleill yn amlwg.

## PENNOD III.

### *AMSER.*

AMSER yw newidiad, neu barhâd, sain y gwahanol nodau.

ADRAN I.—AR Y GWAHANOL FATHAU O AMSER.

Nid oes ond dau fath o amser yn arferedig yn bresenol, mewn caniadaeth eglwysig; sef, *amser cyffredin*, ac *amser triphlyg*.

1. *Amser cyffredin*, yw yr amser a fesurir gan nodau, cyfartal, megys 1, 2, 4, 8, &c.; sef, 1 banig, 2 adfanig, 4 gorfanig, ac 8 crychyn.

Amser cyffredin a adnabyddir wrth y darluniadau hyn,




Y cyntaf yw y modd arafaf, ac a ddefnyddir fynychaf mewn erddyganau lleddf. Cynwysa ban o'r modd hwn, un banig, (neu nodau ereill cyfartal,) yr hwn a genir tra y rhifir pedwar o symudiadau dringlin awrlais.

Nid oes dim gwahaniaeth rhwng yr ail fodd a'r un blaenaf, ond yn unig fod yn rhaid canu ban o hono un gradd yn gyflymach nâ ban o'r blaenaf: felly cenir ban o hwn tra y rhifir tri.

Y trydydd yw y modd cyflymaf o'r amser cyffredin, a chenir ban o hono tra y rhifir dau.

Sylw. Pan y mae y modd hwn yn cael ei nodi â




nid oes ond dau gorfanig mewn ban.

***Eglurhâd pellach ar yr amser cyffredin.***


Pedwar taraw iad, a phedwar eiliad o amser,


Pedwar tarawiad, a thri eiliad o amser.


Pedwar tarawiad, a dau eiliad o amser.



Dau darawiad, ac un eiliad o ämser.

2. *Amser triphlyg* yw yr amser a fesurir â'r nodyn 3 ; ac a arwyddnodir fel hyn,




Y cyntaf yw y modd arafaf, yr hwn a gynwys 3 adfanig (neu nodau ereill cyfartal) mewn ban. Y modd hwn sydd yn deillio o'r modd arafaf yn yr amser cyffredin ; a chedwir yr un faint o amser ar adfanig ynddo, ag a gedwir ar gorfanig yn hwnw: felly cenir ban yn y modd hwn tra y rhifir tri.

Y mae yr ail fodd radd yn gyflymach nâ'r un blaenorol. Y mae yn cynwys 3 gorfanig (neu nodau ereill cyfartal) mewn ban. Y mae hwn yn deillio o'r *ail* fodd yn yr *amser cyffredin;* a chedwir yr un faint o amser ar gorfanig ynddo, ag a wneir ar grychyn yn y modd hwnw: felly cenir ban yn y modd hwn tra y rhifir dau.

Y trydydd yw y modd cyflymaf yn yr *amser triphlyg,* yr hwn a gynwys dri chrychyn (neu nodau ereill cyfar-

tal) mewn ban. Fe ddeillia o'r modd *cyflymaf* yn yr amser cyffredin, a chedwir hefyd yr un faint o amser ar grychyn ynddo,ag a wneir ar adgrychyn yn y modd hwnw: felly cenir ban yn y modd hwn tra y rhifir un a hanner.

*Eglurhâd pellach ar yr amser triphlyg.*



Tri tharawiad, a thri eiliad o amser.



Tri tharawiad, a dau eiliad o amser.



Tri tharawiad, ac un eiliad a hanner o amser

### ADRAN I.—CURIAD AMSER.

Gwedi rhoddi eglurhâd ar y gwahanol *amserau*, *moddau*, &c, rhoddwn yn awr ychydig o gyfarwyddiadau pa fodd i *guro amser* : neu mewn geiriau ereill, pa fodd i ysgogi y llaw neu y droed, mewn trefn i ranu pob ban yn ranau cyfartal, fel y gwybyddir pa faint o amser i roi i bob nodyn.

Dywedwyd o'r blaen fod pob ban, yn mhob un o'r moddau yn yr amser cyffredin, ond




yn cynwys pedwar tarawiad; o ganlyniad, curir y ban ddwywaith i fyny a dwywaith i lawr.

Dywedwyd hefyd, fod ban yn mhob un o'r moddau yn yr amser triphlyg, yn cynwys tri tharawiad; felly curir y ban ddwywaith i lawr, ac unwaith i fyny.

Yn awr rhoddwn ychydig o gynlluniau er dangos yr iawn ddull o *gyfrif* a *churo* yr amser, yn y gwahanol amserau a moddau.

Rhif. 1, 2, 3, 4. 1, 2, 3, 4. 1, 2, 3, 4. 1, 2. 3, 4. 1, 2, 3, 4.

Cur. 1, 1: f, f. 1, 1: f, f: 1, 1: f, f. 1, 1: f, f. 1, 1: f, f.

Rhif. 1, 2. 1, 2. 1, 2. 1, 2. 1, 2.

Cur. 1. f. 1, f. 1, f. 1, f. 1, f.

C

## CYNLLUNIAU YN YR AMSER TRIPHLYG.

Rhif. 3. 1, 2, 3. 1, 2, 3. 1, 2, 3. 1, 2, 3.

Cur. f. 1, 1, f. 1, 1, f. 1, 1, f. 1, 1, f.

Rhif. 3. 1, 2, 3. 1, 2, 3. 1, 2, 3. 1, 2, 3.
Cur. f. l, l, f. l, l, f. l, l, f. l, l, f.

Rhif. 1, 2, 3. 1, 2, 3. 1, 2, 3.
Cur. l, l, f. l, l, f. l, l, f.

---

Sylw 1. Y llythyrenau *l* ac *f* ŷnt yn arwyddo *lawr* a *fyny*, wrth guro yr amser; sef, fod y llaw neu y droed i'w hysgogi i lawr yn y rhan flaenaf o'r ban, ac i fyny yn yr olaf.

2. Er fod y cynlluniau hyn yn dangos fod yn rhaid i'r llaw neu y droed fyned ddwywaith i lawr, a dwywaith i fyny, yn yr amser cyffredin; a dwywaith i lawr, ac unwaith i fyny, yn yr amser triphlyg;—eto, nid yw o gymaint pwys pa *ddull* y curir, (ond yn unig ei fod yn foneddigaidd a gweddus,) os rhoddir i'r nodau a'u gorphwysion eu hamserau priodol.

3. Er fod y llaw neu y droed yn fuddiol i gynorthwyo y golwg, eto, y prif begwn ar ba un yr ymddibyna y cwbl yw y *meddwl;* canys onid all yr efrydydd gyfrif yr amser yn ei feddwl, ofer iddo dybied y dichon guro na chanu unrhyw erddygan yn ei hamser priodol.

Er hyny, y drefn oreu i'r efrydydd, pan y cyrhaeddo wybodaeth led gyflawn o'r amser, yn y gwahanol foddau, &c, yw curo yr amser yn ol y cynlluniau blaenorol, a thrwy ychydig o arferiad, daw i ganu unrhyw dôn yn eithaf priodol, heb symud llaw na throed.

## PENNOD V.

### *ARWYDDNODAU.*

HEBLAW yr arwyddnodau a eglurwyd eisoes, arferir amryw ereill mewn cerddoriaeth, y rhai a nodir fel y canlyn:—




Llonnod. Lleddfnod. Naturiol. Mannod. Mannod dyblyg.




Llithren. Saib. Cyfeirnod. Attro. Ailadroddnodau.




Ban. Bandyblyg. Diweddglo.

14



Rhwymyn.

1. Swydd y *llon* yw codi y nôd a fyddo ar ei ol, hanner tôn yn uwch nâ'i sefyllfa naturiol. Bwriwn ein bod yn disgyn o D i C, yr hyn sydd yn dôn gyfan; ond os rhoddir llon o flaen yr C, ni fydd y disgyniad ond hanner tôn, fel o C i B, neu o Ff i E, yn naturiol.

2. Y *lleddf* sy yn gweithredu bob amser yn wrthwynebol i'r llon, sef gostwng y nôd y byddo o'i flaen, hanner tôn yn îs. Bwriwn ein bod yn esgyn o A i B, yr hyn sydd yn dôn gyfan; ond os rhoddwn leddf o flaen B, ni fydd yr esgyniad ond hanner tôn, fel o B i C, neu o E i Ff, yn naturiol.[1]

[1] Sylw. Er fod gan y llon a'r lleddf yr effeithiau hyn, eto nid ellir amgyffred eu heffeithiau a'u dybenion oll, nes deall rhanau cywreiniaf y wybodaeth.

3. Y *naturiol* a ddefnyddir i dynu ymaith effaith y llon a'r lleddf, ac adferyd y nôd i'w sefyllfa gyntaf.

4. Y *mannod* a ysgrifenir bob amser ar ol y nôd y perthyna iddo, ac y mae yn chwanegu at y nôd hwnw hanner ei amser. Bwriwn ein bod yn ysgrifenu mannod ar ol banig; felly, cedwir yr un faint o amser ar y banig hyny, ag a wneir ar dri adfanig.

5. Y *mannod dyblyg* a gynwys *amser a hanner* mannod unigol.

6. Y *llithren* a arwydda y dylid canu y nodau y byddo uwch eu penau, ar un sillaf.

7. *Saib* uwchben unrhyw nôd, a arwydda y dylid dal yn hwy arno nag yn ei sefyllfa naturiol, heb y saib.

8. Y *cyfeirnod* a ysgrifenir bob amser ar ol y nôd diweddaf ar yr erwydd, i ddangos mai ar yr un linell neu gyfrwng y mae y nôd nesaf yn ysgrifenedig.

9. Yr *attro* a ddengys y dylid ail ganu rhyw air neu eiriau oddiwrth y nôd y byddo uwch ei ben.

10. Y naill neu y llall o'r *ailadroddnodau*, a ddengys eich bod i droi yn ol oddiwrth y fan lle y byddo, ac ail ganu y rhan hyny o'r erddygan.

11. Y *bar* a ddefnyddir i ranu yr erddygan yn ddosbeirth cyfartal, yn ol ei mesuriad.

12. Y *bardyblyg* a ddefnyddir yn niwedd rhan gyflawn o'r geiriau.

13. Y *diweddglo* yw terfyn yr erddygan.

14. Y *rhwymyn* a ddefnyddir i rwymo y lleisiau hyny o'r erddygan sydd i'w cydganu. Fe'i defnyddir hefyd i rwymo y ddau brif lais, os bydd yr erddygan wedi ei haddasu at y gorloes neu yr eilioneg.

## PENNOD VI.

### *ADDURNNODAU.*

Yr addurnnodau sy fath o luniau a ddefnyddir i harddu sain yr erddygan, fel y gwelir isod.




Siglnod. Gogwyddon. Rhifnod addurnol. Byrseiniau. Chwyddnod

1. Y *siglnod* a arwydda y dylid canu y nôd y byddo uwch ei ben, yn debyg i saith o nodau cyflyn, y naill un islaw y llall; fel hyn,—




Ysgrifenedig. Canedig.

2. Y *gogwyddon* a ddefnyddir o flaen neu ar ol nodau, i gyrhaedd y sain yn fwy ysgafn a llithrig, ac y mae yn un rhan o bedair o amser y nôd y perthyna iddo.

3. Y *rhifnod addurnol* a ddynoda y dylid canu y nodau y byddo uwch eu penau, un gradd yn gyflymach; hyny yw, y rhifnod 2 uwchben tri o nodau, a ddengys y dylid canu y tri nôd hyny yn amser dau o'r unrhyw nodau. Y rhifnod 4 uwchben pump o nodau, a ddengys yr un modd y dylid eu canu yn amser pedwar: ac felly am bob un arall.[1]

4. Y *byrsain* uwchben nôd, a ddengys y dylid ei ganu yn gryf, ac yn hanner ei amser naturiol, gan orphwys yr hanner arall.

---

1 Rhag dyryswch, dealled yr efrydydd, ein bod yn gwahaniaethu yn hyn o bwnc oddiwrth bob awdwr a'r a welsom erioed. Bob amser defnyddir 3, ac nid 2, uwch y nodau, yr hyn sydd yn eithaf afresymol, ac yn groes i ddull rhifnodiad amser. Dyben y rhifnod yw cynddrychioli yr amser a roddir i'r nodau fo islaw iddo; gan hyny, yr iawn ddull yw rhoddi 2, sef tri gorfanig yn amser dau.

5. Y *chwyddnod* a ddengys eich bod i ddechreu canu y nôd neu nodau y byddo uwch eu penau, yn wan ac esmwyth, gan gynyddu y sain hyd y canol, a diweddu fel y dechreuwyd. Gosodir y chwyddnod mewn gwahanol ddulliau, megys <, >, neu ><; ond pa fodd bynag y gosodir, dylid cryfhau neu wanhau y llais, yn gyfatebol i lun y nôd.

---

Yn y rhan hon, ymdrechwyd egluro yr holl ddarlunnodau sydd yn addas eu defnyddio mewn cerddoriaeth eglwysig, yn y modd goraf ag y gallasem. Cadwyd golwg yn neillduol at yr hyn a farnem yn fwyaf angenrheidiol yn y rhan yma; sef, gwneyd y cwbl yn ddealladwy mewn mor ychydig o le ag a allesid, er mwyn ymhelaethu ar ranau mwy pwysig a dyeithr.

---

# RHAN II.

# Peroriaeth.

---

WRTH *beroriaeth* y meddylir yn fwyaf neillduol dylyniad rheolaidd a phenodol o seiniau unigol; fel hyn,—



Mewn ystyr mwy cyffredinol, golyga, nid yn unig dylyniad rheolaidd unlleisiol, eithr hefyd ffrwyth cyffredinol y gwahanol leisiau mewn cynghanedd, y rhai sydd yn dwyn yr un effaith, trwy drefnu eu seiniau yn rheolaidd, ag ydyw peroriaeth.

Ond yn y lle yma, nid ydym i ddeall y naill na'r llall o'r ystyriaethau hyn. Yr ydym yn defnyddio y gair i arwyddo yn uniongyrchol, gwybodaeth o'r egwyddorion sydd yn angenrheidiol i ffurfio alaw tôn.

---

## PENNOD I.

## *Y GRADDFAAU.*

WRTH raddfa mewn cerddoriaeth y meddylir, cyfres o seiniau cyfunryw neu berthynasol; a chan y cesglir holl seiniau cerddoriaeth i dair rhyw, nid oes, gan hyny, ond tair graddfa yn bod. Gelwir y graddfaau hyn wrth yr enwau *Naturiol, Goslefol,* a *Gorseiniol.*

### ADRAN I.—AM Y RADDFA NATURIOL.

Y RADDFA naturiol a gynwys yr holl gyfryngau a ffurfir gan y nodau yn eu sefyllfa naturiol.

Nid oes ond saith o wahanol seiniau naturiol mewn cerddoriaeth, y rhai a ddynodir â'r llythyrenau G, A, B, C, D, E, Ff.

Dyma yr unig rifedi y dichon y llais dynol eu hamrywio. Chwanegu un atynt, fyddai ail adrodd y sain blaenaf, neu ffurfio yr wython. Chwanegu un eilwaith, fyddai ffurfio nawfed oddiwrth y sain dechreuol, neu ail adrodd yr ail sain wython yn uwch: felly yn y blaen am bob sain arall; fel hyn,—




I gael syniad trwyadl o'r pwnc, rhodded yr efrydydd ryw sain benodol i'r *g*, a choded un radd hyd *a*, ac felly yn raddol hyd *ff*: canfydda yn amlwg fod pob sain yn amrywio y naill oddiwrth y llall; ond wrth esgyn o *ff* i *g*, y mae yn dychwelyd i'r sain dechreuol; eithr gyda hyn o wahaniaeth, ei fod megys yn dechreu rhifres newydd, yr hyn, mewn gwirionedd, nid yw ond yr hen seiniau wython yn uwch; a phe dyrchefid i unrhyw nifer, ni ddygid i mewn gymaint ag un sain newydd, namyn dyblygu y saith sain cyntaf.

Mae y raddfa hon yn gynwysedig o bum tôn gyfan, a dwy hanner tôn:[1] neu mewn geiriau ereill, y mae y pellder sy rhwng pump o'r seiniau hyn, gymaint arall a rhwng y ddau weddilledig.

Y daflen ganlynol a ddengys ar un olwg pa rai sydd yn donau, a pha rai sydd yn hanner tonau, yn nghyda'u sefyllfa yn naturiol.

1 Dylid fod yn dra gofalus rhag cymysgu y geiriau *nod* a *thon*. Wrth nôd, y meddylir y sain a glywir, neu yr arwydd sydd yn ei ddynodi; ond wrth dôn, y pellder sy rhwng dau nôd a'u gilydd.




Wrth y daflen hon, fe wêl yr efrydydd fod tôn gyfan o G i A, tôn gyfan o A i B, hanner tôn o B i C, tôn gyfan o C i D, tôn gyfan o D i E, ac hanner tôn o E i Ff.[1]

Dygir ni yn awr i sylwi ar gyfryngau y raddfa naturiol; ac i'r dyben o amgyffred hyn yn well, dalied yr efrydydd ar y sylwadau canlynol.

1. Wrth *gyfrwng* y meddylir, y pellder a fyddo rhwng dau nôd neu sain.

2. Enwir y cyfrwng wrth rif y graddau a fyddo rhwng y ddau sain: er angraifft, pan byddo pump o raddau, gelwir y cyfrwng yn *bummed.*

3. Wrth gyfrif y cyfrwng, rhaid cyfrif y ddau eithafnod. Dywedwyd fod G yn bummed i C; felly rhaid cyfrif C yn un, D yn ddau, E yn dri, Ff yn bedwar, ac G yn bump.

4. Penodir *rhywogaeth* y cyfryngau, yn ol nifer y tonau neu yr hanner tonau a fyddo rhwng yr eithafnodau. Nodir hwy wrth yr enwedigaethau *Mwyaf* a *Lleiaf*, *Llon* a *Lleddf* a *Pherffaith*, yr hyn a eglurir wrth bob cyfrwng.

Pe buasai cyfryngau y raddfa oll yn unffurf, ni chawsid yn yr wython ond saith cyfrwng; ond gan fod ynddi donau a hanner tonau, y mae gan hyny ddeuddeg o gyfryngau.

1. Yr *Eilfed Lleiaf* a ffurfir o ddau sain, yn cynwys y pellder o un hanner tôn naturiol, megys o B i C, ac o E

---

[1] Am eglurhâd manylach ar y seiniau naturiol, yn nghyda sefyllfaoedd ac effaith yr hanner tonau, gwel y cyweiriau.

i Ff. Y mae C hanner tôn yn uwch nâ B, a B yn hanner tôn yn is nag C. Perthyna yr un sylw hefyd i E ac Ff: fel hyn,—




Sylw. Y mae y cyfrwng yma i'w gael hefyd yn gymysgedig â chyfryngau y raddfa oslefol. Gwel y raddfa hòno.

2. Yr *Eilfed Mwyaf* a ffurfir o ddau sain, yn cynwys y pellder o un dôn gyfan; megys o C i D, &c.; fel hyn,




Sylw 1. Y mae y cyfrwng yma i'w gael mewn pump o wahanol sefyllfaoedd yn y raddfa naturiol, sef o C i D; o D i E; o Ff i G; o G i A; ac o A i B.

2. Dyma'r achos y gelwir y raddfa yma weithiau wrth yr enw *Trydonol*; am ei bod yn cynwys *pump* o donau; a *dwy* hanner tôn.

3. Y *trydyddLleiaf* a ffurfir o dair gradd, yn cynwys tôn ac hanner tôn naturiol rhwng y ddau eithafnod; fel hyn,—




4. *Trydydd Mwyaf* a ffurfir o dair gradd, yn cynwys dwy dôn rhwng yr eithafnodau; fel hyn,—



5. Y *Pedwarydd Perffaith* a ffurfir o bedair gradd, yn cynwys dwy dôn a hanner rhwng yr eithafnodau; fel hyn,—



Y 4ydd perffaith yn ei holl sefyllfaoedd.

6. Y *Pedwarydd Llon*[1] a ffurfir o bedair gradd, yn cynwys tair tôn rhwng yr eithafnodau; fel hyn,—



Y 4ydd llon.

7. Y *Pummed Lleddf* a ffurfir o bum gradd, yn cynwys dwy dôn a dwy hanner tôn (ac nid tair tôn) rhwng yr eithafnodau. Gellir ei ranu hefyd i ddau drydydd lleiaf; fel hyn,—



Y 5ed lleiaf. Dau 3ydd lleiaf.

8. Y *Pummed Perffaith* a ffurfir o bum gradd, yn cynwys tair tôn ac un hanner tôn. Gellir ei ranu hefyd i drydydd mwyaf a lleiaf; fel hyn,—



Y 5ed perffaith yn ei holl sefyllfaoedd. 3 mwyaf, 3 lleiaf

9. Y *Chweched Lleiaf* a ffurfir o chwech o raddau, yn cynwys tair tôn a dwy hanner tôn rhwng yr eithafnodau.

---

1 Am y rheswm o alw y pedwaran wrth yr enwau *perffaith a llon*, yn wahanol i'r ail a'r trydydd, gwel y sylwadau yn niwedd y dosparth hwn.

Gellir ei ranu hefyd i drydydd lleiaf, a phedwarydd perffaith ; fel hyn,—



6ed lleiaf yn ei holl sefyllfaoedd. 3ydd lleiaf, 4ydd perffaith

10. Y *Chwechcd Mwyaf* a ffurfir o chwech o raddau, yn cynwys pedair tôn ac un hanner tôn. Gellir ei ranu hefyd i drydydd mwyaf a phedwarydd perffaith ; fel hyn,



6ed mwyaf yn ei holl sefyllfaoedd. 3 mwyaf, 4 perffaith.

11. Y *Seithfed Lleiaf* a ffurfir o saith o raddau, yn cynwys pedair tôn, a dwy hanner tôn. Gellir ei ranu hefyd i bummed perffaith, a thrydydd lleiaf ; fel hyn,—



7fed lleiaf, 5ed perffaith. 3ydd lleiaf.

12. *Y Seithfed Mwyaf* a ffurfir o saith o raddau, yn cynwys pum tôn ac un hanner tôn. Gellir ei ranu hefyd i bummed perffaith, a thrydydd mwyaf ; fel hyn,—



7fed mwyaf. 5ed perffaith. 3ydd mwyaf.

Dyma'r holl gyfryngau a gynwysir yn y raddfa naturiol ; canys, mewn gwirionedd, nid yw yr unsain yn gyfrwng, ac nid yw yr wython ond ail adroddiad o'r sain blaenaf: ond gan y gall ystyriaeth o'r wython, fel cyfrwng, arwain i fuddioldeb, gwnawn hyny o chwanegiad yn y lle yma.

13. *Wython* a ffurfir o wyth o raddau, yn cynwys pum tôn a dwy hanner tôn. Gellir ei ranu hefyd i bummed perffaith, a phedwarydd perffaith; fel hyn,—




Yr ydym yn awr wedi rhoddi gerbron y efrydydd, ddosraniad mor deg ag y gallwn o'r Raddfa Naturiol, trwy osod o'i flaen ei holl gyfryngau, yn nghyda'u nifer gwahanol. Fel casgliad cyffredinol oddiwrth yr eglurhâd hyn, ac fel cynorthwy pellach i amgyffred y mater, gwnawn y sylwadau canlynol.

1. Pan y gosodir nôd isaf unrhyw gyfrwng, wython yn uwch, neu nôd uchaf unrhyw gyfrwng wython yn is, gelwir y cyfnewidiad yn *wrthddull*.

2. Trwy wrthddull, y mae yr *eilfed* yn dyfod yn *seithfed*; y *trydydd*, yn *chweched*; a'r *pedwarydd*, yn *bummed*; fel hyn,—




3. Trwy wrthddull hefyd y mae pob cyfrwng *mwyaf* yn dyfod yn *lleiaf*, a phob cyfrwng *lleiaf* yn dyfod yn *fwyaf*; y mae y *pedwarydd llon* yn dyfod yn *bummed lleddf*, a'r *unsain* yn *wython*.

4. Gelwir y rhai hyny sy fwyaf hyfryd i'r glust, sef yr wython, y pummed perffaith, y pedwarydd perffaith, y ddau drydydd, a'r ddau chweched, yn *gydseiniaid*; ond y rhai sy fwyaf anhyfryd, (mewn cymhariaeth i'r rhai blaenaf,) sef y ddau eilfed, y ddau seithfed, y pedwarydd llon, a'r pummed lleddf, yn *anghydseiniaid*.

5. Y trefniad yma a ddengys y priodoldeb o ddynodi yr eilfed, y trydydd, y chwechted, a'r seithfed, wrth yr enwau mwyaf neu leiaf, yn ol nifer eu hanner tonau; tra y gelwir y pedwarydd a'r pummed yn *berffaith*, *llon* neu *leddf*, yn ol eu hansoddau.

6. Y mae y trydydd a'r chwechted, pa un bynag ai mwyaf ai lleiaf, bob amser yn gydseiniol; yr eilfed a'r seithfed, bob amser yn anghydseiniol; ond y pedwarydd a'r pummed, yn gydseiniol yn unig pan yn berffaith, eithr yn anghydseiniol pan byddo y pedwarydd yn llon a'r pummed yn lleddf.

7. Wrth gyfrif oddiwrth bob un o nodau yr wython, ni gawn fod holl gyfryngau y raddfa yn cynwys y rhifres ganlynol:—

Pum eilfed mwyaf, a dau eilfed lleiaf.
Tri thrydydd mwyaf, a phedwar trydydd lleiaf.
Chwe pedwarydd perffaith, ac un pedwarydd llon.
Chwe pummed perffaith, ac un pummed lleddf.
Pedwar chwechted mwyaf, a thri chwechted lleiaf.
Dau seithfed mwyaf, a phum seithfed lleiaf.

### ADRAN II.—Y RADDFA OSLEFOL.

Wrth y raddfa oslefol y meddylir, y raddfa hòno a ffurfir drwy hanner tonau.

Dywedwyd fod y raddfa naturiol yn gynwysedig o donau ac hanner tonau; ond y raddfa oslefol ni chynwys ond hanner tonau yn unig. Mewn gair, nid yw y raddfa oslefol yn ddim amgen nâ rhaniad y raddfa naturiol yn hanner tonau, drwy gynorthwy llonnodau a lleddfnodau.[1]

---

[1] Yma ni a welwn gelfyddyd yn dechreu gweithredu oddiar egwyddorion natur. Pan yr hwyliai y cerddor ei wybodaeth yn mlaen fel trefniant, gwelai angenrheidrwydd o gael hanner tonau lle nad oeddent yn naturiol. I gyflawni y diffyg yma, defnyddiai foddion i ranu y cyfrwng, oedd yn dôn yn naturiol, i ddwy hanner llon: hyn a roddodd sylfaen i ffurfiad y raddfa oslefol.

*Y Raddfa Oslefol yn esgyn trwy lonau.*



*Y Raddfa Oslefol yn disgyn trwy leddfau.*



Yn ngwyneb yr angreifftiau uchod, ni a welwn fod y raddfa oslefol yn gymysgedig o ddau fath o hanner tonau; sef, hanner tôn naturiol, ac hanner tôn oslefol. Yr hanner tôn naturiol (fel y dywedwyd o'r blaen) a berthyn i'r raddfa naturiol, ac a eglurwyd dan yr enwedigaeth *eilfed lleiaf*. Yr hanner tôn oslefol yw y pellder sy rhwng unrhyw nôd yn ei sefyllfa naturiol, a'r un nôd wedi ei ddyrchafu â llon, neu ei ostwng â lleddf; fel hyn,—




Gwelir hefyd fod y raddfa hon yn cynwys triarddeg o hanner tonau, sef saith naturiol, a phump goslefol. Y rhifres a ffurfir wrth esgyn sy fel hyn;—o *c* i *c* llon, sydd hanner tôn oslefol; o *c* llon i *d*, sydd hanner tôn naturiol; o *d* i *d* llon, sydd hanner tôn oslefol; o *d* llon i *e*, sydd hanner tôn naturiol; o *e* i *ff*, sydd hanner tôn naturiol; o *ff* i *ff* llon, sydd hanner tôn oslefol; o *ff* llon i *g*, sydd hanner tôn naturiol; o *g* i *g* llon, sydd hanner tôn oslefol; o *g* llon i *a*, sydd hanner tôn naturiol; o *a* i *a* llon, sydd hanner tôn oslefol; o *a* llon i *b*, sydd hanner tôn naturiol; ac o *b* i *c*, sydd hanner tôn naturiol.

Y rhifres a ffurfir wrth ddisgyn hefyd sy fel hyn;—o *c* i *b*, sydd hanner tôn naturiol; o *b* i *b* leddf, sydd hanner tôn oslefol; o *b* leddf i *a*, sydd hanner tôn naturiol; o *a* i *a* leddf, sydd hanner tôn oslefol; o *a* leddf i *g*, sydd hanner tôn naturiol; o *g* i *g* leddf, sydd hanner tôn oslefol; o *g* leddf i *ff*, sydd hanner tôn naturiol; o *ff* i *e*, sydd hanner tôn naturiol; o *e* i *e* leddf, sydd hanner tôn oslefol; o *e* leddf i *d*, sydd hanner tôn naturiol; o *d* i *d* leddf, sydd hanner tôn oslefol; ac o *d* leddf i *c*, sydd hanner tôn naturiol.

Oddiwrth y cyfrwng yma *(yr hanner tôn oslefol)* y deillia yr holl gyfryngau goslefol ereill; o herwydd nid ydynt mewn gwirionedd ond pellderau naturiol wedi eu heangu neu leihau â'r cyfrwng hwn: gan hyny dynodir hwy oll drwy yr enwedigaethau, lleddf a llon *goslefol* neu *gorlon*, yn ol natur y cyfrwng naturiol.

Er mwyn llwyr eglurhâd o'r pwnc, awn drwy holl gyfryngau y raddfa naturiol, a oddefant eu heangu a'u lleihau â'r hanner tôn oslefol.

1. Yr *eilfed lleddf goslefol*, yw yr eilfed mwyaf naturiol wedi ei leihau un hanner tôn drwy effaith y lleddfnod, ac a ffurfir o ddwy radd; fel hyn,—



2fed lleddf goslefol

2. Yr *eilfed llon goslefol*, yw yr eilfed lleiaf naturiol wedi ei eangu un hanner tôn drwy effaith y llonnod, ac a ffurfir o ddwy radd; fel hyn,—



2fed llon goslefol.

3. *Yr eilfed gorlon* yw yr eilfed mwyaf naturiol, wedi ei eangu un hanner tôn drwy effaith y llonnod, ac a ffurfir o ddwy radd; fel hyn,—




4. *Y trydydd gorleddf* yw y trydydd lleiaf naturiol, wedi ei leihau un hanner tôn drwy effaith y lleddfnod, ac a ffurfir o dair gradd; fel hyn,—




5. *Y trydydd lleddf goslefol* yw y trydydd mwyaf naturiol, wedi ei leihau un hanner tôn drwy effaith y lleddfnod, ac a ffurfir o dair gradd; fel hyn,—




6. *Y trydydd llon goslefol* yw y trydydd lleiaf naturiol, wedi ei eangu un hanner tôn drwy effaith y llonnod, ac a ffurfir o dair gradd; fel hyn,—




7. Y *trydydd gorlon* yw y trydydd mwyaf naturiol, wedi ei eangu un hanner tôn trwy effaith y llonnod, ac a ffurfir o dair gradd; fel hyn,—



8. Y *pedwarydd gorleddf* yw y pedwarydd perffaith naturiol, wedi ei leihau un hanner tôn drwy effaith y lleddfnod, ac a ffurfir o bedair gradd; fel hyn,—




9. Y *pedwarydd lleddf goslefol* yw y pedwarydd llon naturiol, wedi ei leihau un hanner tôn drwy effaith y lleddfnod, ac a ffurfir o bedair gradd; fel hyn,—




10. Y *pedwarydd llon goslefol* yw y pedwarydd perffaith naturiol, wedi ei eangu un hanner tôn drwy effaith y llonnod, ac a ffurfir o bedair gradd; fel hyn,—




11. Y *pedwarydd gorlon* yw y pedwarydd llon naturiol, wedi ei eangu un hanner tôn drwy effaith y llonnod, ac a ffurfir o bedair gradd; fel hyn,—




12. Y *pummed lleddf goslefol* yw y pummed perffaith naturiol, wedi ei leihau un hanner tôn drwy effaith y lleddfnod, ac a ffurfir o bum gradd; fel hyn,—



13. Y *pummed llon goslefol* yw y pummed lleddf naturiol wedi ei eangu un hanner tôn drwy effaith y llonnod, ac a ffurfir o bum gradd; fel hyn,—


5ed llon golsefol.

14. Y *pummed gorlon* yw y pummed perffaith naturiol wedi ei eangu un hanner tôn drwy effaith y llonnod, ac a ffurfir o bum gradd; fel hyn,—


5ed gorlon.

15. Y *chweched gorleddf* yw y chweched lleiaf naturiol wedi ei leihau un hanner tôn drwy effaith y lleddfnod, ac a ffurfir o chwech o raddau; fel hyn,—


6ed gorleddf.

16. Y *chweched lleddf goslefol* yw y chweched mwyaf naturiol, wedi ei leihau un hanner tôn drwy effaith y lleddfnod, ac a ffurfir o chwech o raddau; fel hyn,—


6ed lleddf goslefol,

17. Y *chweched llon goslefol* yw y chweched lleiaf naturiol wedi ei eangu un hanner tôn drwy effaith y llonnod, ac a ffurfir o chwech o raddau; fel hyn,—


6ed llon goslefol.

18. Y *chwechad gorlon* yw y chwechad mwyaf naturiol, wedi ei eangu un hanner tôn drwy effaith y llonnod, ac a ffurfir o chwech o raddau; fel hyn,—




19. Y *seithfed lleddf goslefol* yw y seithfed mwyaf naturiol, wedi ei leihau un hanner tôn drwy effaith y lleddfnod, ac a ffurfir o saith o raddau; fel hyn,—




20. Y *seithfed llon goslefol* yw y seithfed lleiaf naturiol, wedi ei eangu un hanner tôn drwy effaith y llonnod, ac a ffurfir o saith o raddau; fel hyn,—




21. Y *seithfed gorlon* yw y seithfed mwyaf naturiol, wedi ei eangu un hanner tôn drwy effaith y llonnod, ac a ffurfir o saith o raddau; fel hyn,—




Yr ydym yn awr wedi gosod gerbron yr efrydydd eglurhâd cyflawn ar effaith yr hanner tôn goslefol ar gyfryngau y raddfa naturiol; neu, mewn geiriau ereill, yr ydym wedi gosod o'i flaen gymaint o gyfryngau ag a berthyn i'r raddfa oslefol. Ond cyn terfynu, ymddengys fod

yn angenrheidiol gwneyd y sylwadau hyn yn mhellach er cynorthwyo yr efrydydd, sef, yn 1, nad yw effaith yr hanner tôn goslefol yn perthyn i'r cyfrwng a ddewiswyd yn yr angreifftiau uchod, yn fwy nâ rhyw gyfrwng arall o'r un natur. Er angraifft,—dywedwyd mai y trydydd lleiaf naturiol wedi ei leihau un hanner tôn yw y trydydd gorleddf, ac i egluro hyny defnyddiwyd y cyfrwng o *b* i *d*; fel hyn,—




Wrth droi yn ol at y trydydd lleiaf yn y raddfa naturiol, ni a welwn fod y cyfrwng yma i'w gael bedair gwaith yn y raddfa, sef o *d* i *ff*; o *e* i *g*; o *a* i *c*; ac o *b* i *d*. Yn awr, ni ddewiswyd y cyfrwng *b d* yn hytrach nâ *d ff*, neu *e g*, o herwydd unrhyw berthynas rhyngddo a'r hanner tôn goslefol, nac unrhyw addasrwydd naturiol arall; ond yn unig oherwydd fod yn rhaid cael rhyw un yn angraifft. Ond, yn 2, er fod *a c* yn drydydd lleiaf naturiol, eto nid allasid ddwyn y cyfrwng yma yn drydydd gorleddf fel y lleill, o herwydd nad oedd ond hanner tôn eisoes rhwng *b* ac *c*.

Perthyna yr un sylwadau hefyd i'r cyfryngau ereill.

#### ADRAN III.—Y RADDFA ORSEINIOL.

Wrth y raddfa orseiniol, y meddylir y raddfa hòno a ffurfir o gwarter tonau.*

Ffurfir y cyfrwng gorseiniol, neu gwarter tôn, drwy uno disgyniad ac esgyniad y raddfa oslefol â'u gilydd.

* Mewn ystyr beirniadol, nis gellir dywedyd fod y fath beth a graddfa orseiniol yn bod, o herwydd nad ellir cael rhifres o'r cyfryw gyfryngau. yr hyn sydd angenrheidiol cyn y gellir ei galw yn raddfa; eto, gan fod y fath gyfrwng i'w gael, ac yn angenrheidiol i ni sylwi arno, yr ydym yn dewis ei ddynodi fel yn perthyn i drydedd raddfa, gan na fydd hyny yn arwain i unrhyw gyfeiliornad o barth i natur na defnydd y cyfrwng; ond yn hytrach yn rhwyddineb i'r efrydydd ei ddeall,

Er angraifft, y mae tôn gyfan o *g* i *a* naturiol. Yn awr, pe cymerid *g* lon yn lle *g* naturiol, ac *a* leddf yn lle *a* naturiol, byddai gwahaniaeth sefyllfa rhwng y ddau nod hyn, er na byddai gwahaniaeth yn y sain;* y gwahaniaeth yma a elwir yn gwarter tôn; fel hyn,—



Y cyfrwng gorseiniol, neu gwarter tôn,

Mae yn wir y golygir yn gyffredinol fod y nodau hyn (*g* lon ac *a* leddf) o'r un natur ac anian; ond ystyriaeth fanol ar eu ffurfiad a'u heffeithiau, a'n dysg (mewn ystyr feirniadol) i'w gwahaniaethu.

Ond tuag at ddeall natur y cyfrwng yma yn gywir, rhaid i ni sylwi,

1. Nad yw y cyfrwng o dôn i'w ystyried bob amser yr un yn athrawiaeth sain; neu mewn geiriau ereill, nad yw pob tôn yn yr wython o'r un faintiolaeth.

Dosparthir yr wython i dri math o gyfryngau, sef tôn *fwyaf*, tôn *leiaf*, ac hanner tôn naturiol.

2. Golygir hefyd y gellir rhanu pob tôn fwyaf i naw o adranau bychain; pob tôn leiaf i wyth o adranau; a phob hanner tôn naturiol i bump o adranau.

3. Sefyllfaoedd y cyfryngau hyn yn yr wython ŷnt fel y canlyn:—o c i *d*, y mae tôn fwyaf; o *d* i *e*, y mae tôn leiaf; o *e* i *ff*, y mae hanner tôn naturiol; o *ff* i *g*, y mae y tôn fwyaf; o *g* i *a*, y mae tôn leiaf; o *a* i *b*, y mae tôn fwyaf; ac o *b* i *c*, y mae hanner ton naturiol.

Felly, yr wython a gynwys tair tôn fwyaf, dwy dôn leiaf, a dwy hanner tôn naturiol; fel hyn,—

* Nid yw hyn yn dwyn un perthynas âg offer cerdd, megys rhai orleisiau eglwysig (*temple organs*), ond y llais dynol.



Ton f. Ton l. Han t. Ton f. Ton l. Ton f. Han. ton.

4. Gellir dosparthu yr hanner tonau i dri math—sef hanner tôn naturiol; hanner tôn oslefol fwyaf; ac hanner tôn oslefol leiaf.

5. Yr hanner tôn oslefol fwyaf a ffurfir ar dôn fwyaf; a'r hanner tôn oslefol leiaf, ar dôn leiaf.

6. Yr hanner tôn naturiol, a gynwys bum adran; yr hanner tôn oslefol fwyaf, a gynwys bedwar adran; a'r hanner tôn oslefol leiaf, a gynwys dri adran.

Wedi i'r efrydydd amgyffred y sylwadau hyn yn dda, fe a ddealla yn hawdd beth yw natur y cyfrwng gorseiniol; i wneyd hyn mor amlwg ag y gallwn, defnyddiwn y cyfrwng a nodwyd o'r blaen, sef *g a*. Y mae yr efrydydd yn deall erbyn hyn mai tôn leiaf sydd o *g* i *a*, yn cynwys wyth o adranau. Rhoddi llonnod o flaen *g*, sydd yn derchafu y cyfrwng un hanner tôn oslefol yn uwch. Rhoddi lleddfnod hefyd o flaen *a*, sydd yn gostwng y cyfrwng un hanner tôn oslefol yn is.

Yn awr, gan fod wyth o adranau yn y dôn, a dim ond tri o adranau yn mhob un o'r hanner tonau (sef rhyngddynt), y mae dau adran rhwng y ddau eithafnod, sef rhwng *g* lon ac *a* leddf. Y gwahaniaeth yma yw y cyfrwng gorseiniol.

Bellach rhoddwn daflen gyflawn er dangos y modd y ffurfir y cyfrwng gorseiniol, drwy esgyniad a disgyniad y raddfa oslefol.*

* Dalied yr efrydydd sylw, fod undeb y raddfa oslefol, er-ffurfio y cyfrwng gorseiniol, yn cael ei nodi â'r rhifnodau, 1, 2, 3, &c.: fel hyn, o *c* i *c* lon, mae hanner tôn oslefol; o *c* lon i *d* leddf, sy gyfrwng gorseiniol. Cyfrifed yr efrydydd drwy y raddfa, yn ol y drefn yna,




Yn ngwyneb y dafien hon, fe wêl yr efrydydd nas gellir cael ond saith o wahanol gyfryngau gorseiniol, sef yr un nifer ag sydd o seiniau mewn cerddoriaeth. Y mae y cyfryngau hyn yn hollol wrthwyneb yn eu natur, i natur y tonau y ffurfir hwy arnynt. I ddangos hyn yn fwy amlwg, sylwn ar bob cyfrwng yn unigol.

1. Y cyfrwng gorseiniol cyntaf, sy rhwng *c* lon a *d* leddf, yn cael ei ffurfio ar dôn fwyaf; gan hyny yn cynwys un adran, ac a ellir ei alw yn gyfrwng lleiaf gorseiniol; fel hyn,—


Cyfrwng lleiaf gorseiniol.

2. Yr ail gyfrwng gorseiniol, sy rhwng *d* lon ac *e* leddf, yn cael ei ffurfio ar dôn leiaf; gan hyny yn cynwys dau adran, ac a ellir ei alw yn gyfrwng mwyaf gorseiniol; fel hyn,—


Cyfrwng mwyaf gorseiniol.

3. Y trydydd cyfrwng gorseiniol, sy rhwng *e* lon ac *ff* naturiol, yn cael ei ffurfio ar hanner tôn naturiol; gan hyny, yn cynwys dau adran, ac a ellir ei alw yn gyfrwng mwyaf gorseiniol; fel hyn.—




Sylw. Fe gofia yr efrydydd nad oes ond hanner tôn rhwng *e* ac *ff* yn naturiol; gan hyny, y mae lloni *e*, neu leddfi *ff*, yn effeithio ar y cyfrwng yma yr un fel ag y mae lloni a lleddfi y ddau nod sydd â thôn gyfan rhyngddynt.

4. Y pedwarydd cyfrwng gorseiniol sy rhwng *ff* lon ac *g* leddf, yn cael ei ffurfio ar dôn fwyaf; gan hyny yn cynwys un adran, ac a ellir ei alw yn gyfrwng lleiaf gorseiniol; fel hyn,—




5. Y pummed cyfrwng gorseiniol sy rhwng *g* lon ac *a* leddf, yn cael ei ffurfio ar dôn leiaf; gan hyny yn cynwys dau adran, ac a ellir ei alw yn gyfrwng mwyaf gorseiniol; fel hyn,—




6. Y chweched cyfrwng gorseiniol sy rhwng *a* lon a *b* leddf, yn cael ei ffurfio ar dôn fwyaf; gan hyny yn cynwys un adran, ac a ellir ei alw yn gyfrwng lleiaf gorseiniol; fel hyn,—




7. Y seithfed (a'r diweddaf) cyfrwng gorseiniol sy rhwng *b* lon ac *e* naturiol, yn cael ei ffurfio ar hanner tôn

naturiol; gan hyny yn cynwys dau adran, ac a ellir ei alw yn gyfrwng mwyaf gorseiniol; fel hyn,—




Yn awr yr ydym wedi gosod ger bron yr efrydydd, eglurhâd têg o'r tair graddfa sy mewn cerddoriaeth, yn nghyda olrheiniad manwl ar eu cyfryngau; bellach wrth derfynu â'r bennod hon, cynghorem ef, yn

1. Gan mai y raddfa gyntaf a mwyaf bwysig yw yr un naturiol, na fydded iddo mewn un modd fyned heibio iddi heb ei deall yn dda; a chyn myned ddim yn mhellach, trysored yn ei gof yr eglurhâd a roddwyd ar gyfryngau y raddfa; bydd o ddefnydd arbenig iddo yn ei holl fyfyrdodau cerddorol.

2. Ymdreched i ddeall yn gywir natur y raddfa oslefol, trwy ddal sylw ar effaith yr hânner tôn oslefol ar y cyfryngau naturiol, yn ol yr eglurhâd a roddwyd trwy y gwahanol angreifftiau.

3. Nid oes un angenrheidrwydd iddo ddeall y raddfa orseiniol, nes cyrhaedd gwybodaeth helaeth yn y gwahanol ranau; gan fod ei defnyddiad yn un o orchestion y cyfansoddwyr mwyaf medrus; gan hyny, gall ei gadael yn llonydd ar hyn o bryd.

---

## PEN. II.

### Y CYWEIRIAU.

WRTH gywair y meddylir y prif sain hyny yn mha un y mae pob erddygan wedi ei chyfansoddi, ac ar ba un y mae yn ymddibynu; canys rhaid i bob dernyn rheolaidd o gerddoriaeth gael rhyw sain benodol i lywodraethu ei holl ysgogiadau, ac i fod yn safon i'w holl bellderau.

I ddefnyddio iaith gymhariaethol, y mae y cywair i'r er-

ddygan yn debyg fel y mae y sylfaen i'r ardeilad; canys megys y mae yr holl oruwch-adeilad yn pwyso ac yn ymddibynu ar y sylfaen osodedig, felly y mae pob cyfansoddiad cerddorol yn pwyso ac yn ymddibynu ar y cywair.*

Nid oes ond dau fath o gyweiriau yn bod, sef *llon* a *lleddf*. Cywair llon yw y cywair hyny sydd yn peri i'r erddygan effeithio er bywiocau a llawenhau. Cywair lleddf, yn y gwrthwyneb, yw y cywair hyny sydd yn effeithio er tristau, a'r cyffelyb.

Rhaid hefyd i'r sain yma, neu gywair, ateb o ran ei uchder i ryw un o nodau yr wython, ac felly orphwys arno fel ei le priodol—y nod hwnw a elwir yn *gyweirnod*.

Y mae dau o nodau yr wython yn gyweirnodau naturiol; sef *c* yn gyweirnod llon, ac *a* yn gyweirnod lleddf.† Ein hamcan gan hyny yn y bennod hon fydd egluro y berthynas sy rhwng y cyweirnodau hyn a'r raddfa naturiol.

---

* Y mae yn bur anhawdd gwneyd i'r efrydydd ddeall trwy eiriau, beth yw cywair. Er defnyddio amser, a gwahanol ddulliau i draethu arno, rhaid addef mai arferiad yw y peth mwyaf effeithiol i gyfleu gwybodaeth. Am gyfarwyddiadau addas, gwel yr attodiad.

† Dymunwn alw sylw yr efrydydd sydd am chwilio y pwnc yn athronaidd *(philosophical)*, mai wrth ddweyd fod *c* ac *a* yn gyweirnodau naturiol, ein meddwl yw, eu bod felly mewn cymhariaeth i bob cyweirnod arall. Rhaid gwneyd pob un o nodau ereill yr wython yn gyweirnodau, trwy ddefnyddio llonnodau neu leddfnodau, fel yr eglurir yn y bennod nesaf; ond nid oes angen am y fath gelfyddyd efo y cyweirnodau hyn.

Y pwnc yw, pa ham y mae *c* ac *a* yn gyweirnodau naturiol, yn fwy nag unrhyw nodau ereill? ac a os rhyw ddeddfau yn natur yn rhwymo y rhai hyn i fod felly yn fwy nâ'r lleill? Dyma y cwestiynau ar ba rai y mae yr archwiliad yn ymddibynu.

Ein barn yw *nad oes* un angenrheidrwydd naturiol fod y rhai hyn yn gyweirnodau, yn fwy nag ereill; o herwydd y mae yn rhaid i ni wahaniaethu rhwng *cywair* a *chyweirnod;* neu, mewn geiriau ereill, rhaid i ni ystyried nad yw y sain

hyny sydd yn llywodraethu cyfansoddiad unrhyw ddernyn o gerddoriaeth, yn perthyn i un o nodau y raddfa naturiol yn fwy nâ'u gilydd. Yn gyffredin darlunir y cywair y cenir ynddo fel yn perthyn yn hanfodol i'r nod a ddewisir yn gyweirnod; a thrwy hyny argraffir syniad ar feddwl y cerddor ei fod yn newid y cywair mor aml ag y mae yn newid y cyweirnod. Pe byddai hyny yn ddarluniad cywir, byddai yn ddigon rhesymol dywedyd fod deddfau natur yn sicrhau mai lle penodol y cywair llon naturiol ydyw y radd y mae *c* yn sefyll ynddi.

Yn awr, a chymeryd fod hyn yn ddarluniad cywir, y canlyniad fyddai, fod yn rhaid i ni gredu hefyd fod cymaint o gyweiriau ag sydd o seiniau neu nodau yn y raddfa naturiol; ac yn y gorchwyl o drawsddodi, mai trawsddodi o'r naill gywair i gywair arall yr ydys, ac nid trawsddodi yr un cywair o gyweirnod i gyweirnod, yr hyn a'n harweiniai i olygiadau tra gwrthin ar y pwnc. Ond yr hyn a ddengys i ni yn amlwg (heb ymosod i draethu yn helaeth oddiar athroniaeth sain) fod gwahaniaeth rhwng cywair a chyweirnod, ac nad oes dim naturiol yn gwneyd *c* ac *a* yn gyweirnodau, yn fwy nâ rhyw nodau ereill o'r raddfa,yw,nad oes unrhyw berthynas naturiol rhwng y llais dynol a'r nodau hyn, yn fwy nâ'r nodau ereill. Bod hyn yn wirionedd, a ymddengys yn amlwg oddiwrth y ffaith, nad yw y llais yn disgyn yn angenrheidiol ar y seiniau perthynol i'r nodau hyn,yn fwy nâ'r seiniau perthynol i'r nodau ereill. Fe ŵyr pob cerddor, trwy brofiad, fod yr un anhawsdra i gael gafael ar y cyweirsain, pan y mae *c* ac *a* yn gyweirnodau, ag sydd pan y mae rhyw nodau ereill o'r raddfa, yr hyn nas gallai fod pe byddai perthynas naturiol rhwng y llais a sain y nodau hyn. Yn y gwrthwyneb eto, pe byddai y berthynas a soniwyd yn bod, disgynai y llais yn ddidrafferth, a gyda sicrwydd, ar y sain briodol yn mhob erddygan a gyfansoddid yn y cyweirnodau hyn; a byddai yr un deddfau naturiol yn arwain yr anwybodus a'r anwarddyn i'r sain briodol, gyda'r un rhwyddineb a'r cerddor cywreiniaf.

Yn ngwyneb y crybwyllion hyn, ymddengys yn amlwg nad oes un angenrheidrwydd anianyddol yn rhwymo *c* ac *a* yn gyweirnodau naturiol,yn fwy nag ereill; ond eu bod felly trwy ddewisiad a chelfyddyd. Mewn gair, yr oedd yn rhaid cael rhyw nod yn safon i'r raddfa yn y cywair llon a'r lleddf; ac fel y cyfryw dewiswyd *c* i un ac *a* i'r llall.

Yn awr, yr unig beth sydd yn angenrheidiol ei ddeall, yw y berthynas sy rhwng y cyweirnodau a'r hanner tonau; neu, mewn geiriau ereill, pellder yr hanner tonau oddiwrth y cyweirnod.

Yn ganlynol, ni a roddwn dafleni yn egluro ar un olwg pellder yr hanner tonau oddiwrth y ddau gyweirnod naturiol.

*Taflen yn egluro perthynas a threfn cyfryngau yr wython, fel y maent yn nghyweirnod C lon naturiol.*

| | | |
|---|---|---|
| C | 8 | hanner tôn |
| B | 7 | tôn |
| A | 6 | tôn |
| G | 5 | tôn |
| F | 4 | hanner tôn |
| E | 3 | tôn |
| D | 2 | tôn |
| C | 1 | |

*Yr unrhyw eto mewn nodau.*




Wrth yr angreifftiau hyn, fe wêl yr efrydydd fod tôn gyfan o'r cyntaf (neu gyweirnod) i'r ail; tôn gyfan o'r ail i'r trydydd; hanner tôn o'r trydydd i'r pedwarydd; tôn gyfan o'r pedwarydd i'r pummed; tôn gyfan o'r pummed i'r chweched; tôn gyfan o'r chweched i'r seithfed; ac hanner tôn o'r seithfed i'r wythfed drachefn; gan hyny, yn y cywair llon y mae yr hanner tonau yn gorphwys rhwng y trydydd a'r pedwarydd, a rhwng y seithfed a'r wythfed, oddiwrth y cyweirnod.

*Taflen yn egluro perthynas a'threfn cyfryngau yr wython, fel y maent yn nghyweirnod A leddf naturiol.*

| | | |
|---|---|---|
| A | 8 | ton |
| G | 7 | ton |
| F | 6 | hanner ton |
| E | 5 | ton |
| D | 4 | ton |
| C | 3 | hanner ton |
| B | 2 | ton |
| A | 1 | |

*Yr unrhyw eto mewn nodau.*

Ton. H. ton. Ton. Ton. H. ton. Ton. Ton.




Wrth yr angreifftiau hyn, fe wêl yr efrydydd fod tôn gyfan o'r cyntaf (neu gyweirnod) i'r ail; hanner tôn o'r ail i'r trydydd; tôn gyfan o'r trydydd i'r pedwarydd; tôn gyfan o'r pedwarydd i'r pummed; hanner tôn or pummed i'r chweched; tôn gyfan o'r chwęched i'r seithfed; a thôn gyfan o'r seithfed i'r wythfed: gan hyny, yn y cywair lleddf, y mae yr hanner tonau yn gorphwys rhwng yr ail a'r trydydd, a rhwng y pummed a'r chweched, oddiwrth y cyweirnod.

Nid oes un amrywiad yn ofynol yn esgyniad na disgyniad yr wython yn y cywair llon; y mae y cyfryngau oll i fod yn naturiol; fel hyn,—

*Esgyniad yr wython yn nghywair llon C naturiol.*



*Disgyniad yr wython yn nghywair llon C naturiol.*



Yn y cywair lleddf, rhoddir llonnod o flaen y chweched a'r seithfed wrth esgyn : fel hyn,—

*Esgyniad yr wython yn nghywair lleddf A naturiol.*



Y rhesymau dros y cyfnewidiadau yma ŷnt a ganlyn—

Rhaid bod y pellder sy rhwng y seithfed a'r cyweirnod (wythfed), bob amser yn hanner tôn, er mwyn ffurfio *y nod arweiniol.** Ond yn y cywair lleddf, y mae y pellder naturiol sy rhyngddynt, yn dôn gyfan ; gan hyny, rhoddir llonnod o flaen y *seithfed*, i ddyrchafu y sain, fel na bo y pellder rhyngddynt ond hanner tôn, er mwyn ffurfio *g* yn nod arweiniol i *a*.

Llonir y *chwechecl*, fel na byddo y pellder rhwng y chwechecl a'r seithfed yn fwy nâ thon, yr hyn a fyddai, trwy fod y seithfed yn cael ei loni, oni bae fod y chwech-ed hefyd yn cael ei loni.

Ond wrth ddisgyn, ni ofynir y cyfryw lonnodau ; fel hyn,—

*Disgyniad yr wython yn nghywair lleddf A naturiol.*



* Gwel Pennod 4.

Gelwir y cywair llon weithiau yn gywair *mwyaf*, a'r lleddf yn *leiaf*. Y rheswm am hyn sydd yn ddeublyg. 1. Am fod trydydd y cywair llon, yn drydydd mwyaf, ac nad yw trydydd y cywair lleddf, ond trydydd lleiaf. 2. Am fod mwy o hanner tonau o'r cyweirnod hyd ei seithfed, yn y cywair llon, nag sydd yn y cywair lleddf; fel hyn,—

| | | | |
|---|---|---|---|
| 11 | B | | |
| 10 | — | 10 | G |
| 9 | A | 9 | |
| 8 | | 8 | Ff |
| 7 | G | 7 | E |
| 6 | | 6 | |
| 5 | F | 5 | D |
| 4 | E | 4 | |
| 3 | | 3 | C |
| 2 | D | 2 | B |
| 1 | | 1 | |
| | C | | A |

Yn ngwyneb y daflen uchod, fe welir fod unarddeg o hanner tonau o'r cyweirnod hyd ei seithfed, yn y cywair llon; pryd nad oes ond deg yn y cywair lleddf. Yr achos o hyn, fel y gwelir, yw, fod y ddwy hanner tôn yn lledred y seithawd, yn y cywair lleddf; ond nad oes ond un yn y cywair llon.

---

## PEN. III.

### *TRAWSDDODIAD.*

Trawsddodiad yw y drefn o symud y cywair o un cyweirnod i gyweirnod arall, fel bo y cyfansoddiad yn gofyn.

Er angraifft, bwriwn ein bod yn cyfansoddi erddygan yn *c* lon naturiol, ac wrth ei phrofi, yn cael ei bod un nod yn rhy isel; o ganlyniad, bod yn angenrheidiol ei symud un nod yn uwch, sef i *d*: yn awr, mater y bennod hon, yw egluro pa fodd y gellir gwneyd hyny yn rheolaidd a diwall.

I ddeall hyn yn gywir, sylwed yr efrydydd yn graffus ar yr hyn a ganlyn,—

1. Rhaid iddo ddal yn ei gof yn barhaus, beth yw pellder yr hanner tonau oddiwrth y ddau gyweirnod naturiol. Ond iddo droi yn ol i'r bennod o'r blaen, fe gaiff eu bod yn y cywair llon, rhwng y trydydd a'r pedwarydd, a rhwng y seithfed a'r wythfed, oddiwrth y cyweirnod; ond yn y cywair lleddf, rhwng yr ail a'r trydydd, a rhwng y pummed a'r chwechied, oddiwrth y cyweirnod.

2. Nis gellir gwneyd un nod arall o'r raddfa, yn gyweirnod, heblaw *c* ac *a*, heb ddwyn yr hanner tonau i'r un berthynas â'r nod hwnw ag ydynt â'r cyweirnod naturiol. Os amcanir gwneyd rhyw nod yn gyweirnod llon heblaw *c* naturiol, rhaid dwyn yr hanner tonau i'r un bellder oddiwrth y nod hwnw, ag ydynt yn naturiol oddiwrth *c*. Yr un modd hefyd, os amcanir gwneyd rhyw nod yn gyweirnod lleddf heblaw *a*, rhaid dwyn yr hanner tonau i'r un-pellder oddiwrth y nod hwnw, ag ydynt yn naturiol oddwrth *a*.

3. Symud yr hanner tonau i'r berthynas yma, yw y cwbl sydd yn angenrheidiol ei gael er gwneyd unrhyw un o nodau y raddfa, yn gyweirnod mor rheolaidd ag ydyw *c* neu *a* yn naturiol.

Yn awr, gellir gwneyd hyn trwy ddefnyddio llonnodau, a lleddfnodau.

### ADRAN I.—TRAWSDDODIAD TRWY LONNODAU.

Er mwyn egluro y pwnc mor amlwg ag sy ddichonadwy i ni, bwriwn eto ein bod yn cyfansoddi erddygan yn *c* lon naturiol; gan hyny, y mae sefyllfa yr hanner tonau fel hyn,—



Wrth ganu yr erddygan, canfyddwn ei bod yn rhy isel o un nod; gan hyny, symudwn hi un nod yn uwch, sef i *d*: fel hyn,—




Wrth chwilio eilwaith i gyfryngau yr erddygan, gwelwn fod yr hanner tonau heb eu symud o'u sefyllfaoedd naturiol, er fod y cywair wedi ei symud i *d*; gan hyny, nis gall *d* fod yn gyweirnod priodol fel y mae yn bresenol, o herwydd fod yr hanner tonau rhwng yr ail a'r trydydd a rhwng y chweched a'r seithfed, yn lle rhwng y trydydd a'r pedwarydd, a rhwng y seithfed ar wythfed. Rhaid i ni gan hyny, symud yr hanner tonau i'w sefyllfaoedd priodol.

Yn gyntaf, cyfrifwn pa faint sy rhwng yr hanner tôn pellaf a'r cyweirnod, fel hyn,—*d* yn gyntaf, *e* yn ail, ac *ff* yn drydydd. Felly, gan mai rhwng *e* ac *ff*, sef yr ail a'r trydydd, y mae, yn lle rhwng y trydydd a'r pedwarydd, y mae yn rhaid i ni ei symud un nod yn uwch, sef rhwng *ff* ac *g*, y trydydd a'r pedwarydd i *d*. Hyn a wneir trwy roddi llonnod ar *ff*: fel hyn,—




Er i ni fel hyn symud un o'r hanner tonau i'w le priodol, eto nid yw *d* yn gyweirnod, o herwydd fod yr hanner tôn arall rhwng *b* ac *c*, y chweched a'r seithfed, yn lle rhwng *c* a *d*, y seithfed a'r wythfed. Ein gorchwyl nesaf,

gan hyny, fydd symud yr hanner tôn rhwng *c* a *d*, sef y seithfed a'r wythfed, trwy osod llonnod ar *c*: fel hyn,—




Yn awr, wedi i ni, drwy effaith y llonnodau, symud yr hanner tonau i'r un berthynas â *d*, ag oeddynt o'r blaen âg *c* naturiol, sef rhwng y trydydd a'r pedwarydd, a rhwng y seithfed a'r wythfed, y mae *d* bellach yn gyweirnod mor briodol ag ydoedd *c* o'r blaen.

Ymddengys fod yr angraifft uchod yn ddigon i egluro natur trawsddodiad, o herwydd nid oes dim yn angenrheidiol er trawsddodi i unrhyw nod, yn fwy nag yn yr angraifft yma—y cwbl sydd yn eisiau, yw, dwyn yr hanner tonau i'w sefyllfaoedd priodol.

Yn awr ni a roddwn ger bron yr efrydydd, rifres o angreifftiau, yn dangos natur a threfn y cyfryngau yn wython pob un o nodau y raddfa.

Ond cyn gwneyd hyny, y mae yn angenrheidiol i'r efrydydd ddal sylw ar un peth, sef yw hyny, fod y ddau gyweirnod yn canlyn eu gilydd yn mhob symudiad, yn yr un berthynas ag y maent yn naturiol.

Fe gofia yr efrydydd fod y ddau gyweirnod naturiol yn drydydd y naill i'r llall—y cyweirnod llon yn drydydd uwchlaw y cyweirnod lleddf, a'r cyweirnod lleddf yn drydydd islaw y cyweirnod llon—felly y maent hefyd yn yr holl symudiadau. Gan hyny, pan symudir yr hanner tonau er mwyn gwneyd rhyw un o nodau yr wython yn gyweirnod llon, y mae y trydydd islaw i'r nod hwnw yn cael ei wneyd yn gyweirnod lleddf ar yr un pryd. O'r tu arall, pan y mae rhyw un o nodau yr

wython yn cael ei gymhwyso i fod yn gyweirnod lleddf, y mae y trydydd uwchlaw i'r nod hwnw yn cael ei wneyd yn gyweirnod llon trwy yr un moddion.

ANGREIFFTIAU O'R CYWEIRIAU LLON A LLEDDF, TRWY LONNODAU.

*C lon naturiol.*

Han.tonau.

1 2 3 4 5 6 7 8

*A leddf naturiol.*

Han.tonau.

1 2 3 4 5 6 7 8

*D lon trwy lonnodau.*

Hanner tonau.

1 2 3 4 5 6 7 8

*B leddf trwy lonnodau.*

Hanner tonau.

1 2 3 4 5 6 7 8

* Dalied yr efrydydd sylw, nad yw bod llonnodau yn nechre yr erddygan, yn un arwydd yn y byd fod yr erddygan yn lon; ac nid yw bod lleddfnodau, yn arwydd ei bod yn lleddf; ond y mae pob symudiad, pa un bynag ai trwy lonnod neu leddfnod, yn gwneyd dau gyweirnod, un llon ac un lleddf, fel y gwelir wrth yr angreifftiau uchod.

*A lon trwy lonnodau.*




*Ff leddf trwy lonnodau.*




*B lon trwy lonnodau.*




*G leddf trwy lonnodau.*




I wneyd defnydd priodol o'r angreifftiau uchod, bydded i'r efrydydd olrhain effaith y llonnodau yn symud yr hanner tonau er ffurfio y cyweirnod newydd, yn ol yr angraifft a roddasom o drawsddodi o *c* i *d*. Wedi deall yr angraifft hyny yn drwyadl, fe wêl ei fod i symud y cywair o *d* i *e*, yn gymhwys fel y gwnaeth o *c* i *d*, sef trwy chwanegu dau lonnod, un ar *g* a'r llall ar *d*, er mwyn symud yr hanner tonau i'w sefyllfaoedd priodol. Yr un modd y gwneir hefyd yn y trydydd symudiad i *ff*, trwy chwanegu dau lonnod, un ar *a* a'r llall ar *e*.

Ar ol myned yn mlaen mor belled a hyn, yn lle parhau yn yr un drefn o chwanegu dau lonnod at bob cyweirnod newydd nes myned trwy yr wython, a thrwy hyny gael wyth o lonnodau i wneyd *g* yn gyweirnod, fe wêl yr efrydydd ein bod yn troi yn ol megys, gan ddefnyddio dim ond un. Y rheswm am hyny yw, bod agosach perthynas rhwng bob cyweirnod a'i bummed, nag sy rhyngddo ac un nod arall. Gan hyny, nid oes eisiau symud ond un o'r hanner tonau i wneyd y pummed yn gyweirnod: a thrwy fod *g* yn bummed i *c*, ni raid o ganlyniad, ond symud un o'r hanner tonau i'w gwneyd yn gyweirnod. Fel hyn,—y mae yr hanner tonau (fel y cofia yr efrydydd) yn naturiol rhwng *b* ac *c*, a rhwng *e* ac *ff*. Yn awr, y mae *b* ac *c* yn drydydd ac yn bedwarydd i *g*; felly y mae yr hanner tôn yma yn ei le priodol. Ond nid yw *e* ac *ff* ond chweched a seithfed i *g*, am hyny y mae yr hanner tôn yma un nod yn rhy isel, gan y dylai fod rhwng y seithfed a'r wythfed. I'r dyben o symud yr hanner tôn yma un nod yn uwch, sef rhwng *ff* ac *g*, rhoddir llonnod ar *ff*; felly bydd y ddau hanner tôn mewn sefyllfa addas i wneyd *g* yn gyweirnod.

Aed yr efrydydd yn mlaen yn ol yr un reol trwy y ddau symudiad arall, sef *a* lon *a* *b* lon.*

---

* Y mae yn fanteisiol, ac yn rhesymol hefyd, i'r efrydydd ddal sylw ar y drefn y gosodir y llonnodau wrth drawsddodi; canys y mae pob un yn gofyn, nid yn unig ei *le* priodol, ond hefyd ei drefn priodol. Er mwyn ei gynorthwyo yn hyn, rhoddwn iddo i'w ddysgu, y pennill canlynol o waith ein cyfaill W. Owen, awdwr y Caniedydd Crefyddol:—

Ff yw'r hon a lonir gyntaf,
C yn ail, ac G yn nesaf;
D'n bedwarydd, A yn bummed,
E yn olaf, dyna'r chweched.

**ADRAN II.—TRAWSDDODIAD TRWY LEDDFNODAU.**

Yr un peth o ran ei natur yw trawsddodi trwy leddfnodau, ag ydyw trwy lonnodau; canys y gorchwyl, yn y naill drefn a'r llall, yw dwyn yr hanner tonau i'w sefyllfaoedd priodol. Yn y dull yn unig y mae y gwahaniaeth. Ac yn y golygiad yma, y mae y ddwy drefn yn hollol wrthwyneb i'w gilydd, yn yr un modd ag y mae y llonnodau a'r lleddfnodau yn effeithio yn wahanol ar y cyfryngau y gosodir hwy arnynt.*

Natur y llonnod bob amser yw dyrchafu y cyfrwng un hanner tôn yn uwch nag y byddai hebddo; gan hyny wrth drawsddodi trwy lonnodau, rhaid symud tuag i fyny, fel y cenfydd yr efrydydd wrth yr adran flaenorol. Y mae natur y lleddfnod bob amser yn hollol groes i eiddo y llonnod; hyny yw, y mae yn gostwng y cyfrwng un hanner tôn yn îs nag y byddai hebddo; gan hyny, wrth drawsddodi trwy leddfnodau, rhaid symud tuag i lawr.

Er angraifft.—Bwriwn ein bod wedi cyfansoddi erddygan yn *c* lon naturiol, a'i bod un nod yn rhy uchel; gan hyny rhaid ei symud un nod yn îs, sef i *b*. Yn awr, bydd y cyweirnod a'r hanner tonau yn sefyll fel hyn,—




Yn ngwyneb yr angraifft yma, ni a welwn fod yr hanner tonau yn gorphwys rhwng y cyweirnod a'i eilfed, a rhwng y pedwarydd a'r pummed; pryd y dylent fod rhwng y seithfed a'r wythfed, a rhwng y trydydd a'r pedwarydd. Ond symudir yr hanner tôn sy rhwng y

---

* Gwel Pennod 5.

cyweirnod a'i eilfed, un nod yn îs, trwy roddi lleddfnod ar *b;* a symudir yr hanner tôn sy rhwng y pedwarydd a'r pummed, un nod yn îs, trwy roddi lleddfnod ar *e*: yna bydd yr hanner tonau yn gorphwys rhwng y trydydd a'r pedwarydd, a rhwng y seithfed a'r wythfed, fel y dylent fod: fel hyn,—




Rhoddwn eto gerbron yr efrydydd, rifres o angreifftiau yn dangos natur a threfn y cyfryngau yn wython pob un o nodau y raddfa.

*C lon naturiol.*




*A leddf naturiol.*




*B lon trwy leddfnodau.*



*A lon trwy leddfnodau.*




*Ff leddf trwy leddfnodau.*




*G lon trwy leddfnodau.*




*E leddf trwy leddfnodau.*




*Ff lon trwy leddfnodau.*




*D leddf trwy leddfnodau.*



*E lon trwy leddfnodau.*




*C leddf trwy leddfnodau.*



*D lon trwy leddfnodau.*

Hanner tonau 8 7 6 5 4 3 2 1

*B leddf trwy leddfnodau.*

Hanner tonau 8 7 6 5 4 3 2 1

I wneyd defnydd priodol o'r angreifftiau uchod eto bydded i'r efrydydd olrhain effaith y lleddfnodau yn symud yr hanner tonau er ffurfio cyweirnod newydd, yn ol yr angraifft a roddasom o drawsddodi o *c* i *b*. Wedi deall yr angraifft hyny yn dda, fe wêl ei fod i symud y cywair o *b* i *a*, yn gymhwys fel y gwnaeth o *c* i *b*, sef drwy chwanegu dau leddfnod, un ar *a*, a'r llall ar *d*, er mwyn symud yr hanner tonau i'w sefyllfaoedd priodol. Yr un modd hefyd y gwneir yn y trydydd symudiad i *g*, drwy chwanegu dau leddfnod, un ar *g*, a'r llall ar *c*.

Ar ol myned yn mlaen mor belled a hyn, yn lle parhau yn yr un drefn o chwanegu dau leddfnod i wneyd pob cyweirnod newydd, nes myned trwy yr wython, a thrwy hyny gael wyth o leddfnodau i wneyd *ff* yn gyweirnod, fe wêl yr efrydydd ein bod wedi troi yn ol megys, yma eto, a defnyddio dim ond un. Y rheswm o hyn hefyd yw, fod yr un berthynas rhwng y pedwarydd a'r wythfed, ag sy rhwng y pummed a'r cyweirnod. Gan hyny, wrth drawsddodi trwy leddfnodau nid oes eisiau symud ond un o'r hanner tonau i wneyd y pedwarydd yn gyweirnod; a thrwy fod *ff* yn bedwarydd i *c*, ni raid o ganlyniad ond symud un o'r hanner tonau i'w gwneyd yn gyweirnod.

Y mae yn fanteisiol, ac yn rhesymol hefyd, i'r efrydydd ddal sylw eto ar y drefn y gosodir y lleddfnodau, y naill yn olynol i'r llall; canys y mae pob un yn gofyn nid yn unig ei le priodol, ond hefyd ei drefn briodol. Er mwyn ei gynorthwyo yn hyn rhoddwn iddo eto y pennill canlynol i'w ddysgu, o waith ein cyfaill.

B a leddfir yn flaenorol,
E yn ail, ac A 'n ganlynol;
D 'n bedwarydd, G yn nesaf,
C yn chweched, hon yw'r olaf.

Ymddengys fod yr eglurhâd a wnaed yn ddigon er dwyn yr efrydydd i ddeall natur trawsddodiad y cyweiriau. Yn awr rhoddwn iddo ychydig o daflenau i'w tryseri yn ei gof, er mwyn ei gynorthwyo i gofio y cyweirnodau a'u harwyddion yn well.

TRAWSDDODIAD TRWY LONNODAU.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| *Un llonnod* a ddengys fod y cywair llon yn | G, | y lleddf yn | E |
| *Dau lonnod* | —— | D, | —— | B |
| *Tri llonnod* | —— | A, | —— | Ff |
| *Pedwar llonnod* | —— | E, | —— | C |
| *Pum llonnod* | —— | B. | —— | G |
| *Chwech llonnod* | —— | Ff, | —— | D |

TRAWSDDODIAD TRWY LEDDFNODAU.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| *Un lleddfnod* a ddengys fod y cywair llon yn | Ff | y lleddf yn | D |
| *Dau leddfnod* | —— | B, | —— | G |
| *Tri lleddfnod* | —— | E, | —— | C |
| *Pedwar lleddfnod* | —— | A, | —— | Ff |
| *Pum lleddfnod* | —— | D, | —— | B |
| *Chwech lleddfnod* | —— | G, | —— | E |

Y CYWEIRNODAU LLON.

C ni ofyn na llonnod na lleddfnod.
D, a ofyn *dau lonnod*, neu *bum lleddfnod*.
E, —— *pedwar llonnod*, neu *dri lleddfnod*.
Ff, —— *chwe llonnod*, neu *un lleddfnod*.
G, —— *un llonnod*, neu *chwe lleddfnod*.
A, —— *tri llonnod*, neu *bedwar lleddfnod*.
B, —— *bum llonnod*, neu *ddau leddfnod*.

Y CYWEIRNODAU LLEDDF.

A, ni ofyn na llonnod na lleddfnod.
B, a ofyn *ddau lonnod*, neu *bum lleddfnod.*
C, —— *bedwar llonnod*, neu *dri lleddfnod.*
D, —— *chwe llonnod*, neu *un lleddfnod.*
E, —— *un llonnod*, neu *chwe lleddfnod.*
Ff, —— *dri llonnod*, neu *bedwar lleddfnod.*
G, —— *bum llonnod*, neu *ddau leddfnod.*

---

## PEN. IV.

### *TRAWSGYWEIRIANT.*

TRAWSGYWEIRIANT yw y drefn o symud o'r cywair neu y cyweirnod dechreuol, i ryw gywair neu gyweirnod arall yn ystod yr erddygan neu y cyfansoddiad.

Er angraifft.—Bwriwn ein bod yn cyfansoddi erddygan yn y cywair llon, a bod rhyw gyfran o'r geiriau y byddem yn cyfansoddi arnynt yn cynwys rhyw ddrychfeddwl a gynhyrfai y teimlad o alar neu dristwch. Yn y cyfryw amgylchiad, tra anaddas fyddai dwyn yr erddygan yn mlaen yn y cywair dechreuol, sef y cywair llon; canys felly dinystrid holl rym y geiriau, a byddai y cyfansoddiad yn waeth nâ bod yn aneffeithiol. Gan hyny, byddai yn angenrheidiol dwyn y cywair lleddf i mewn, fel y byddai y beroriaeth a'r farddoniaeth yn cydlefaru wrth y syniad a'r teimladau. Yn awr, y weithred o ddwyn y cywair lleddf i mewn fel hyn, a alwn yn drawsgyweirio; a'n gorchwyl yn y bennod hon fydd egluro trwy ba foddion y gellir gwneyd hyny.

Ond cyn dechreu rhaid addef mai tra anhawdd yw dwyn mater y bennod hon i gyfundraeth drefnus a rheolaidd, os cymerwn ein harwain gan gyfansoddwyr diweddar y gwahanol wledydd a chenedlaethau; canys y maent wedi dwyn y pwnc yn mlaen i'r fath raddau anmhenodol, fel mai anhawdd yw dweyd pa drawsgyweiriadau sydd yn

rheolaidd neu afreolaidd—pa fodd, neu pa bryd, i'w ddechreu—na pha fodd, neu pa bryd, i'w diweddu.

Ein rheol, gan hyny, i benderfynu cywirdeb neu annghywirdeb trawsgyweiriadau, fydd chwilio i berthynas y cyweirnodau a ddefnyddir. A'n rheol i benderfynu addasrwydd neu anaddasrwydd eu defnyddiad, fydd, eu cytundeb neu eu hannghytuneb âg ansoddion cerddoriaeth eglwysig Gymreig. *

Yn awr, i wneyd y pwnc yn amlwg, y mae genym dri pheth i'w hystyried—1. I ba le y gellir trawsgyweirio —2. Trwy ba foddion y gellir gwneyd hyny—ac, yn 3. Pa fodd y gellir dychwelyd yn ol i'r cyweirnod dechreuol.

Yn gyntaf, gellir trawsgyweirio yn y cywair llon, o unrhyw gyweirnod i'w bummed; o unrhyw gyweirnod i'w bedwarydd; o unrhyw gyweirnod i'w chweched, yn y cywair lleddf; o unrhyw gyweirnod i'w drydydd, yn y cywair lleddf; ac o unrhyw gyweirnod i'w eilfed, yn y cywair lleddf. Gellir trawsgyweirio hefyd yn y cywair lleddf, o unrhyw gyweirnod i'w bummed; o unrhyw gyweirnod i'w bedwarydd; o unrhyw gyweirnod i'w drydydd, yn y cywair llon; o unrhyw gyweirnod i'w seithfed, yn y cywair llon; ac o unrhyw gyweirnod i'w chweched, yn y cywair llon.

Dyma yr unig drawsgyweiriadau a ymddengys i ni yn rheolaidd a chyfreithlon, gan nas gellir dwyn yr un arall i mewn wedi ei sylfaenu ar unrhyw berthynas wirioneddol. Cynwysa y rhifres yma gymaint ag sydd yn wir angenrheidiol er effeithio pob teimlad sy briodol i gerddoriaeth eglwysig.

Yn ail, y gorchwyl nesaf fydd dangos y modd neu y drefn y gellir trawsgyweirio yn rheolaidd a diwall.

---

* Ymdrinir â hyn yn y bedwaredd ran.

Y peth cyntaf sydd yn angenrheidiol ei ddeall yma, yw, bod yn rhaid i bob cyweirnod gael ei *nod arweiniol.** 

Y mae hyn wedi ei sylfaenu ar y berthynas sy rhwng y cyweirnod naturiol a'i seithfed—sef rhwng *c* y cyweirnod llon a *b* ei seithfed; a rhwng *a* y cyweirnod leddf ac *g* lon ei seithfed. Nid yw *b* naturiol ond hanner tôn islaw *c*, ac nid yw *g* lon ond hanner tôn islaw *a*. Hyn a osododd y rheol nad ellir myned o unrhyw gyweirnod, ond trwy seithfed mwyaf y cyweirnod hwnw; yr hwn seithfed, o herwydd ei swydd yn arwain y glust yn uniongyrchol i'r wythfed, a elwir yn nod arweiniol. Gan hyny, yn mhob trawsgyweiriad, rhaid cael hanner tôn o'r seithfed i'r cyweirnod, (fel y mae yn naturiol,) oddieithr yn unig yn nisgyniad y cywair lledddf, yr hyn a eglurir yn ol llaw.

Wedi deall hyn yna, y pwnc nesaf fydd dangos y modd y ffurfir y nod arweiniol yma; neu mewn geiriau ereill, yr hyn sydd yn angenrheidiol ei wneyd i drawsgyweirio. Ac wrth egluro hyn, bydd yn ofynol i ni sylwi ar y berthynas ar ba un y sylfaenir y trawsgyweiriad, fel rheswm dros ei gyfreithlondeb, ac fel moddion hefyd i'r efrydydd amgyffred y drefn yn well.

Gellir dosparthu trawsgyweiriant yn ddwy ran; sef o'r cyweirnod llon, ac o'r cyweirnod leddf.

### ADRAN I.—TRAWSGYWEIRIANT O'R CYWEIRNOD LLON.

Y trawsgyweiriad cyntaf a mwyaf syml sydd o unrhyw gyweirnod llon i'w bummed llon.

---

* Wrth *nod arweiniol* y meddylir, y seithfed mwyaf o unrhyw gyweirnod: neu mewn geiriau ereill, yr hanner tôn islaw y cyweirnod. Fel hyn—nod arweiniol *c*, y cyweirnod llon naturiol, yw *b* naturiol; canys nid oes ond hanner tôn rhwng *b* ac *c*. Nod arweiniol *a*, y cyweirnod lleddf naturiol, yw *g* lon; canys yn naturiol y mae tôn gyfan rhwng *g* ac *a*; gan hyny, rhaid lloni *g*, er mwyn cael hanner tôn o *g* i *a*, fel y gall *g* fod yn nod arweiniol i *a*.

Sylfaenir y trawsgyweiriad yma ar y berthynas sy rhwng y cyweirnod llon, a phummed y cyweirnod hwnw.* Y mae y berthynas mor agos rhwng y seiniau hyn, fel y gellir galw pummed unrhyw gyweirnod, yn arweinydd i'r cyweirnod, ac yn ganolbwynt i raddfa y cyweirnod. Gan hyny, tuagat drawsgyweirio o unrhyw gyweirnod i'w bummed, ni raid dwyn i fewn ond un cyfnewidiad—sef lloni pedwarydd y cyweirnod dechreuol. Canys wrth leni pedwarydd unrhyw gyweirnod, cymhwysir pummed y cyweirnod hwnw i fod yn gyweirnod newydd; a derbynir y pedwarydd llonedig yn uniongyrchol gan y glust, fel seithfed mwyaf neu nod arweiniol, y cyfryw bummed. O ganlyniad, ymddengys yn reol naturiol, mai trwy loni y pedwarydd o unrhyw gyweirnod, y mae trawsgyweirio i bummed y cyweirnod hwnw.

Rhoddir yr angreifftiau canlynol yn gynlluniau o drawsgyweirio o unrhyw gyweirnod llon i'w bummed llon.

---

* Fel y mae i bob un o nodau yr wython ei le priodol o ran pellder oddiwrth y cyweirnod, felly y mae hefyd i bob un ei effaith priodol; yr hwn effaith a gydnabyddir gan y meddwl, ac a deimlir gan y glust. Ymddibyna y briodoledd yma ar y lle y mae pob un o nodau y raddfa ynddo, a'r berthynas sydd rhyngddynt a'r cyweirnod.

Y mae i eilfed y cyweirnod effaith priodol iddo ei hun, yr hwn ni pherthyn i un o nodau ereill yr wython, yn deillio oddi ar y berthynas sy rhwng y cyweirnoda'i eilfed. Felly hefyd y mae i'r trydydd, y pedwarydd, yn nghyda holl nodau ereill yr wython, eu gwahanol effeithiau, yn ol eu sefyllfaoedd a'u perthynas â'r cyweirnod.

Yn unol â'r briodoledd yma, yr amddiffynir y trawsgyweiriadau a enwyd, fel yr unig rai rheolaidd a naturiol.

Am eglurhâd helaethach ar hyn, gwel y bennod arweiniol i ran 3.

## ANGREIFFTIAU O DRAWSGYWEIRIANT.

*Myned o C lon, i G lon, ei phummed.*



*Myned o G lon, i D lon, ei phummed.*



*Myned o D lon, i A lon, ei phummed.*



*Myned o A lon, i E lon, ei phummed.*



*Myned o E lon, i B lon, ei phummed.*



*Myned o B lon, i Ff lon, ei phummed.*



*Myned o Ff lon, i C lon, ei phummed.*



*** Canfyddir wrth yr angreifftiau uchod, ein bod, trwy *loni y pedwarydd*, yn trawsgyweirio i'r pummed, a bod y pedwarydd mwyaf o'r cyweirnod dechreuol, yn ffurfio y seithfed mwyaf, neu *nod arweiniol* i'r cyweirnod newydd; a thrwy barhau i loni y pedwarydd, gellir myned yn rheolaidd o gyweirnod C naturiol, yr hwn na fedd na llonnod na lleddfnod, i unrhyw gyweirnod, gydag unrhyw nifer o lonnodau.

Yr ail drawsgyweiriad, sydd o unrhyw gyweirnod llon i'w bedwarydd llon.

Sylfaenir y trawsgyweiriad yma ar y berthynas sy rhwng unrhyw gyweirnod llon a nod y pedwarydd uwchlaw; nid *fel* pedwarydd uwchlaw, ond fel pummed islaw. Canys y mae y pummed islaw (neu y pedwarydd uwchlaw) yn dwyn yr un berthynas ac effaith â'r wythfed, ag y mae pummed uwchlaw unrhyw gyweirnod yn ei ddwyn â'r cyweirnod hwnw. Gan hyny, tuag at drawsgyweirio o unrhyw gyweirnod llon i'w bedwarydd, ni raid dwyn i mewn ond un cyfnewidiad—sef *lleddfu seithfed* y cyweirnod dechreuol.* Canys wrth leddfi seithfed unrhyw gyweirnod llon, cymhwysir pedwarydd y cyweirnod hwnw i fod yn gyweirnod newydd, trwy drefni cyfryngau yr wython i ddynodi trydydd y cyweirnod yn *nod arweiniol* i'r pedwarydd. Felly, ymddengys yn reol naturiol mai trwy leddfu seithfed unrhyw gyweirnod llon, y mae trawsgyweirio i bedwarydd y cyweirnod hwnw.

---

* Nid ellir trawsgyweirio, yn fwy na thrawsddodi, o unrhyw gyweirnod i gyweirnod arall, heb ddwyn yr hanner tonau i'w sefyllfaoedd priodol; gan hyny, y mae y ddau brif drawsgyweiriad yma, a'r ddau ddull o drawsddodi, wedi eu sylfaenu ar yr un egwyddorion, ac yn hollol gydffurf yn eu trefn o weithredu. Myfyried yr efrydydd ar eu cydundeb.

## ANGREIFFTIAU.

*Myned o C lon, i Ff lon, ei phedwarydd.*



***Myned o Ff lon, i B lon, ei phedwarydd.***



*Myned o B lon, i E lon, ei phedwarydd.*



*Myned o E lon, i A lon, ei phedwarydd.*



*Myned o A lon i D lon, ei phedwarydd.*



*Myned o D lon, i G lon, ei phedwarydd.*



*Myned o G lon, i C lon, ei phedwarydd.*



Wrth yr angreifftiau hyn eto, fe wêl yr efrydydd, ein bod, trwy leddfi y seithfed, yn trawsgyweirio i'r pedwarydd, a bod trydydd naturiol y cyweirnod dechreuol, yn dyfod yn seithfed mwyaf, neu *nod arweiniol* i'r cyweirnod newydd (y pedwarydd); a thrwy barhau i leddfi y seithfed, gellir myned yn rheolaidd o gyweirnod c naturiol, yr hon na fedd na llonnod na lleddfnod, i unrhyw gyweirnod gydag unrhyw nifer o leddfnodau.

Yr ydym yn awr wedi gosod gerbron yr efrydydd eglurhâd mor gyflawn ag y gallasem o'r trawsgyweiriad o unrhyw gyweirnod llon i'w bummed, ac o unrhyw gyweirnod llon i'w bedwarydd. Ar y ddau drawsgyweiriad yma yr ymddibyna yr holl drawsgyweiriadau ereill (oddieithr yn unig y trawsgyweiriad o unrhyw gyweirnod i'w gyweirnod perthynasol*), fel y dangosir yn ol llaw. O ganlyniad, y mae o bwys i'r efrydydd fyfyrio ar y ddau drawsgyweiriad yma, nes eu hamgyffred yn drwyadl; ac i ddefnyddio pob moddion i wneyd ei hun yn gynefin ynddynt†.

---

* Wrth gyweirnod perthynasol y meddylir, y nod hwnw a gymhwysir i'r gyfryw swydd trwy yr un modd-ion ag y gwneir y nod y cyrchir ato. Er angraifft, y mae *c* yn gyweirnod llon heb na llonnod na lleddfnod; a'i gyweirnod lleddf perthynasol yw *a*, heb na llonnod na lleddfnod. Ar yr un egwyddor hefyd y mae *c* yn gyweirnod llon perthynasol i *a* leddf. Felly hefyd y mae yn mhob un o'r symudiadau, fel y dangoswyd yn y bennod o'r blaen.

† Rhaid addef fod ein cenedl hyd yn hyn yn dra amddifad o foddion addas i ddwyn egwyddorion cerddoriaeth i ymarferiad gwych; o herwydd y diffyg o gasgliad addas o erddyganau i'w gosod ger bron yr efrydydd. Y mae rhyw beth mewn dysgu egwyddorion cerddoriaeth, heb ymarfer âg erddyganau da, yn debyg i fyfyrio daearyddiaeth heb ddarlunlen (*map*). Gellir darllen mwy na mwy am y ddaear a'i thrigolion, nes bod mor hyddysg fel nad oes perygl o syrthio i gyfeiliornâd am ansawdd y wlad hon, neu gynyrch y wlad draw; ond os yn amddifad o ddefnyddio darlunlen, i fesur hydred y fan hyn, a lledred y fan arall, &c, ni fyddys eto wedi cael gafael ar brif lewyrch a bywyd y wybodaeth. Y mae rhyw beth yn debyg i hyn mewn cerddoriaeth. Er darllen, myfyrio, a deall yr egwyddorion yn dda, eto os byddys heb berffeithio y wybodaeth drwy ddefnyddiad manwl o erddyganau priodol, y mae diffyg anorfod yn aros er y cwbl.

Y trydydd trawsgyweiriad sydd o unrhyw gyweirnod llon, i'w chweched, neu drydydd islaw, yn y cywair lleddf.

Sylfaenir y trawsgyweiriad yma ar y berthynas sy rhwng unrhyw gyweirnod llon a'i gyweirnod lleddf perthynasol; yr hwn sy bob amser (fel y dangoswyd o'r blaen) yn chweched uwchlaw, neu drydydd islaw—canys yr un ydynt. Gan fod yr hanner tonau o unrhyw gyweirnod llon, yn dynodi yn naturiol y trydydd islaw yn gyweirnod lleddf, nid oes un cyfnewidiad yn nisgyniad y cyfryw gyweirnod lleddf yn angenrheidiol: gan hyny, gellir trawsgyweirio o unrhyw gyweirnod llon trwy ddisgyniad, i'w gyweirnod lleddf perthynasol, heb wneyd un cyfnewidiad.

---

Yr ystyriaeth o hyn a barodd i awdwr y gramadeg hwn ddefnyddio cymaint o angreifftiau, i gyflawni y diffyg mewn rhan. Bydd y casgliad hefyd a fwriedir ei gyhoeddi gan ein cyfaill R. Mills, o ddefnydd annhraethol i'r un perwyl.

## ANGREIFFTIAU.

---

*Myned o C lon, i A, ei chyweirnod lleddf perthynasol.*



*Myned o D lon, i B, ei chyweirnod lleddf perthynasol.*



*Myned o E lon, i C, ei chyweirnod lleddf perthynasol.*



*Myned o Ff llon, i D, ei chywirnod lleddf perthynasol.*



*Myned o G lon, i E, ei chyweirnod lleddf perthynasol.*



*Myned o A lon, i Ff, ei chyweirnod lleddf perthynasol.*



*Myned o B lon, i G, ei chyweirnod lleddf perthynasol.*



Y pedwarydd trawsgyweiriad sydd o unrhyw gyweirnod llon i'w drydydd yn y cywair lleddf.

Sylfaenir y trawsgyweiriad yma ar y berthynas sy rhwng unrhyw gyweirnod llon a'r cyfryw drydydd, nid fel trydydd y cyweirnod, ond fel cyweirnod lleddf perthynasol i bummed y cyweirnod. Y mae trydydd unrhyw gyweirnod llon (y cyfryw drydydd yn y cywair lleddf) yn dwyn yr un berthynas â phummed yr un cyweirnod, ag y mae chweched unrhyw gyweirnod llon yn ei ddwyn â'r cyweirnod ei hun; hyny yw, fel y mae y chweched o unrhyw gyweirnod llon yn gyweirnod lleddf perthynasol i'r unrhyw gyweirnod; felly hefyd y mae y trydydd (yn y cywair lleddf) o unrhyw gyweirnod llon, yn gyweirnod lleddf perthynasol i bummed y cyweirnod hwnw.

Yn awr, ar yr un egwyddor ag y trawsgyweirir trwy ddisgyn o unrhyw gyweirnod llon, i'w gyweirnod lleddf perthynasol, heb un arwydd o gyfnewidiad; y gellir hefyd drawsgyweirio (trwy ddisgyn) o unrhyw gyweirnod llon i'w drydydd, trwy ddefnyddio y cyfnewidiad sydd yn angenrheidiol i drawsgyweirio i bummed llon yr unrhyw gyweirnod. Gan hyny ymddengys yn reol naturiol, mai trwy loni y pedwarydd o unrhyw gyweirnod, y gellir trawsgyweirio i'r trydydd lleddf.

## ANGREIFFTIAU.

---

*Myned o C lon, i E leddf, ei thrydydd.*



*Myned o D lon, i Ff leddf, ei thrydydd.*



*Myned o E lon, i G leddf, ei thrydydd.*





**Myned o Ff lon, i A leddf, ei thrydydd.**



*Myned o G lon, i B leddf, ei thrydydd.*



**Myned o A lon, i C leddf, ei thrydydd.**



*Myned o B lon, i D leddf, ei thrydydd.*

Y pummed (a'r diweddaf) trawsgyweiriad, sydd o unrhyw gyweirnod llon i'w eilfed, yn y cywair lleddf.

Sylfaenir y trawsgyweiriad yma ar y berthynas sy rhwng unrhyw gyweirnod llon a'r cyfryw eilfed, nid fel eilfed y cyweirnod, ond fel cyweirnod lleddf perthynasol i bedwarydd y cyweirnod. Y mae eilfed unrhyw gyweirnod llon (y cyfryw eilfed yn y cywair lleddf) yn dwyn yr un berthynas â phedwarydd y cyweirnod, ag y dangoswyd o'r blaen fod trydydd unrhyw gyweirnod llon (y cyfryw drydydd yn y cywair lleddf) yn ei ddwyn â phummed y cyweirnod: o ganlyniad, sylfaenir y trawsgyweiriad yma ar yr un egwyddor a'r pedwarydd trawsgyweiriad. Gan hyny, gellir trawsgyweirio o unrhyw gyweirnod llon i'w eilfed lleddf(trwy ddisgyn),trwy ddefnyddio y cyfnewidiad sydd yn angenrheidiol i drawsgyweirio i bedwarydd llon yr unrhyw gyweirnod. Felly ymddengys yn reol naturiol y gellir trawsgyweirio o unrhyw gyweirnod llon i'w eilfed (yn y cywair lleddf), trwy leddfi seithfed y cyweirnod.

## ANGREIFFTIAU.

*Myned o C lon, i D leddf, ei heilfed.*



*Myned o D lon, i E leddf, ei heilfed.*



*Myned o E lon, i Ff leddf, ei heilfed.*





*Myned o Ff lon, i G leddf, ei heilfed.*



*Myned o G lon, i A leddf, ei heilfed.*



*Myned o A lon, i B leddf, ei heilfed.*



*Myned o B lon, i C leddf, ei heilfed.*

ADRAN 2.—TRAWSGYWEIRIANT O'R CYWAIR LLEDDF.

Y trawsgyweiriad cyntaf sydd o unrhyw gyweirnod lleddf i'w bummed lleddf.

Sylfaenir y trawsgyweiriad yma ar y berthynas sy rhwng unrhyw gyweirnod lleddf a phummed y cyweirnod hwnw. Sylwyd o'r blaen fod perthynas neillduol rhwng unrhyw gyweirnod a'i bummed; a'r berthynas hyny yw sylfaen trawsgyweiriad o unrhyw gyweirnod lleddf i'w bummed, yn gystal ag o unrhyw gyweirnod llon i'w bummed. I ddeall hyn rhaid i'r efrydydd ddal yn ei gof, fod i bob cyweirnod llon ei gyweirnod lleddf perthynasol: ac fel yr ydys wrth drawsddodi yn symud y ddau gyweirnod yma drwy yr un moddion, felly hefyd, ar yr un egwyddor, yr ydym i drawsgyweirio o'r ddau gyweirnod i'w gwahanol bumpau. Yn awr, wrth drawsgyweirio o unrhyw gyweirnod llon i'w bummed, dangoswyd nad oedd eisiau ond un cyfnewidiad, sef lloni y pedwarydd. Felly hefyd wrth drawsgyweirio o unrhyw gyweirnod lleddf i'w bummed, nid oes eisiau ond yr unrhyw gyfnewidiad—sef lloni chweched y cyweirnod. Gan hyny, ymddengys yn reol naturiol, y gellir trawsgyweirio o unrhyw gyweirnod lleddf i'w bummed, *trwy loni y chweched.*

## ANGREIFFTIAU.

*Myned o A leddf, i E leddf, ei phummed.*



*Myned o E leddf, i B leddf, ei phummed.*



*Myned o B leddf, i Ff leddf, ei phummed.*





*Myned o Ff leddf, i C leddf, ei phummed.*



*Myned o C leddf, i G leddf, ei phummed.*



*Myned o G leddf, i D leddf, ei phummed.*



*Myned o D leddf, i A leddf, ei phummed.*

Yr ail drawsgyweiriad sydd o unrhyw gyweirnod lleddf i'w bedwarydd lleddf.

Sylfaenir y trawsgyweiriad yma ar y berthynas sy rhwng unrhyw gyweirnod lleddf a phedwarydd y cyweirnod hyny; nid fel pedwarydd uwchlaw, ond fel pummed islaw. Dangoswyd o'r blaen fod pedwarydd unrhyw gyweirnod llon yn dwyn yr un berthynas â'r wythfed, ag y mae pummed unrhyw gyweirnod llon yn ei ddwyn â'r cyweirnod ei hun: felly hefyd y mae rhwng unrhyw gyweirnod lleddf a'i bedwarydd—yr un berthynas yw sylfaen y trawsgyweiriad yn y naill gywair fel y llall.

Ond rhaid cofio yma eto yr ystyrir y cyweirnod lleddf hwn fel cyweirnod lleddf perthynasol i'r pedwarydd llon: gan hyny (fel y dywedwyd o'r blaen) yr un cyfnewidiad sydd yn angenrheidiol wrth drawsgyweirio o'r naill fel y llall. Dangoswyd o'r blaen, mai yr unig gyfnewidiad sydd yn angenrheidiol wrth drawsgyweirio o unrhyw gyweirnod llon i'w bedwarydd, yw lleddfi seithfed y cyweirnod dechreuol. O ganlyniad, yr hyn sydd yn angenrheidiol hefyd i drawsgyweirio o unrhyw gyweirnod lleddf i'w bedwarydd, yw lleddfi eilfed y cyfryw gyweirnod lleddf. Gan hyny ymddengys yn reol naturiol, y gellir trawsgyweirio o unrhyw gyweirnod lleddf i'w bedwarydd lleddf, drwy leddfi yr eilfed.

## ANGREIFFTIAU.

*Myned o A leddf, i D leddf, ei phedwarydd.*



*Myned o D leddf, i G leddf, ei phedwarydd.*



*Myned o G leddf, i C leddf, ei phedwarydd.*



***Myned o C leddf, i Ff leddf, ei phedwarydd.***



*Myned o Ff leddf, i B leddf, ei phedwarydd.*



***Myned o B leddf, i E leddf, ei phedwarydd.***



*Myned o E leddf, i A leddf, ei phedwarydd.*



Y trydydd trawsgyweiriad sydd o unrhyw gyweirnod lleddf i'w drydydd llon.

Sylfaenir y trawsgyweiriad yma ar y berthynas sy rhwng unrhyw gyweirnod lleddf a'i drydydd, nid fel trydydd, ond fel cyweirnod llon perthynasol y cyfryw gyweirnod lleddf. Gan fod yr hanner tonau o unrhyw gyweirnod lleddf, yn dynodi yn naturiol y trydydd uwchlaw yn gyweirnod llon, (yn gystal ag y mae yr hanner tonau o unrhyw gyweirnod llon yn dynodi y trydydd islaw yn gyweirnod lleddf,) nid oes un cyfnewidiad yn angenrheidiol. Gan hyny ymddengys yn reol naturiol y gellir trawsgyweirio o unrhyw gyweirnod lleddf i'w drydydd llon (sef ei gyweirnod llon perthynasol), heb wneyd un cyfnewidiad.

## ANGREIFFTIAU.

***Myned o A leddf, i C lon, ei chyweirnod llon perthynasol.***



*Myned o B leddf, i D lon, ei chyweirnod llon perthynasol.*



*Myned o C leddf, i E lon, ei chyweirnod llon perthynasol.*



*Myned o D leddf, i Ff lon, ei chyweirnod llon perthynasol.*



***Myned o E leddf, i G lon, ei chyweirnod llon perthynasol.***



***Myned o Ff leddf, i A lon, ei chyweirnod llon perthynasol.***



***Myned o G leddf, i B lon, ei chyweirnod llon perthynasol.***



Y pedwarydd trawsgyweiriad sydd o unrhyw gyweirnod lleddf i'w seithfed llon.

Sylfaenir y trawsgyweiriad yma ar y berthynas sy rhwng unrhyw gyweirnod lleddf a'r cyfryw seithfed, nid fel seithfed y cyweirnod, ond fel cyweirnod llon perthynasol i bummed lleddf y cyfryw gyweirnod. Yr un egwyddor sydd yn llywodraethu y trawsgyweiriad yma, ag sy hefyd yn llywodraethu y pedwarydd trawsgyweiriad o'r cywair llon: gan hyny gellir troi yr eglurhâd a roddwyd ar y trawsgyweiriad hyny, i gyfateb hwn, fel hyn,—Y mae seithfed unrhyw gyweirnod lleddf (y cyfryw seithfed yn y cywair llon), yn dwyn yr un berthynas â phummed yr unrhyw gyweirnod lleddf, ag y mae trydydd unrhyw gyweirnod lleddf yn ei ddwyn â'r cyweirnod ei hun; hyny yw, fel y mae y trydydd o unrhyw gyweirnod lleddf yn gyweirnod llon perthynasol i'r cyfryw gyweirnod lleddf; felly hefyd y mae y seithfed (yn y cywair llon) o unrhyw gyweirnod lleddf, yn gyweirnod llon perthynasol i bummed lleddf y cyweirnod hwnw.

Yn awr, ar yr un egwyddor ag y trawsgyweirir o unrhyw gyweirnod lleddf i'w gyweirnod llon perthynasol, heb un arwydd o gyfnewidiad, y gellir hefyd trawsgyweirio o unrhyw gyweirnod lleddf i'w seithfed llon trwy ddwyn i mewn y cyfnewidiad sydd yn angenrheidiol i drawsgyweirio i bummed lleddf yr unrhyw gyweirnod. Gan hyny, ymddengys yn rheolaidd y gellir trawsgyweirio o unrhyw gyweirnod lleddf i'w seithfed llon, trwy loni y chweched.

## ANGREIFFTIAU.

***Myned o A leddf, i G lon, ei seithfed.***



***Myned o B leddf, i A lon, ei seithfed.***



***Myned o C leddf, i B lon, ei seithfed.***





*Myned o D leddf, i C lon, ei seithfed.*



*Myned o E leddf, i D lon, ei seithfed.*



*Myned o Ff leddf, i E lon, ei seithfed.*



*Myned o G leddf, i Ff lon, ei seithfed.*

Y pummed (a'r diweddaf) trawsgyweiriad, sydd o unrhyw gyweirnod lleddf i'w chweched, yn y cywair llon.

Sylfaenir y trawsgyweiriad yma eto ar y berthynas sy rhwng unrhyw gyweirnod lleddf a'r cyfryw chweched, nid fel chweched y cyweirnod, ond fel cyweirnod llon perthynasol i bedwarydd lleddf y cyfryw gyweirnod. Yr un egwyddor sydd yn llywodraethu y trawsgyweiriad yma eto, ag y sydd yn llywodraethu y trawsgyweiriad o'r blaen; sef, y mae chweched (y cyfryw chweched yn y cywair llon) unrhyw gyweirnod lleddf, yn dwyn yr un berthynas â phedwarydd yr unrhyw gyweirnod lleddf, ag y mae trydydd unrhyw gyweirnod lleddf yn ei ddwyn â'r cyweirnod ei hun; hyny yw, fel y mae trydydd unrhyw gyweirnod lleddf yn gyweirnod llon perthynasol i'r cyfryw gyweirnod lleddf; felly hefyd y mae y chweched (yn y cywair llon) o unrhyw gyweirnod lleddf, yn gyweirnod llon perthynasol i bedwarydd lleddf y cyweirnod hwnw.

Yn awr, ar yr un egwyddor ag y trawsgyweirir o unrhyw gyweirnod lleddf i'w gyweirnod llon perthynasol, heb un arwydd o gyfnewidiad, y gellir hefyd trawsgyweirio o unrhyw gyweirnod lleddf i'w chweched llon, trwy ddwyn i mewn y cyfnewidiad sydd yn angenrheidiol i drawsgyweirio i bedwarydd lleddf yr unrhyw gyweirnod.

Gan hyny ymddengys yn reol naturiol, y gellir trawsgyweirio o unrhyw gyweirnod lleddf i'w chweched llon trwy leddfi yr eilfed.

## ANGREIFFTIAU.

---

*Myned o A leddf, i Ff lon, ei chweched.*



*Myned o B leddf, i G lon, ei chweched,*



*Myned o C leddf, i A lon, ei chweched.*



Myned o D leddf, i B lon, ei chweched



Myned o E leddf, i C lon, ei chweched.



Myned o Ff leddf, i D lon, ei chweched.



Myned o G leddf, i E lon, ei chweched.



Gwedi gosod ger bron yr efrydydd eglurhâd lled helaeth a manwl ar y dull y gellir myned o un cyweirnod i gyweirnod arall; ein gorchwyl nesaf fydd dangos pa fodd y gellir dychwelyd yn ol o'r cyweirnod y trawsgyweiriwyd iddo, i'r cyweirnod dechreuol. O herwydd y mae yn rhesymol meddwl nad ellir dychwelyd o'r cyweirnod yr awd iddo, heb ddefnyddio moddion addas i hyny, yn fwy nag y gallwyd cyrhaedd y cyfryw gyweirnod ar y cyntaf heb ddefnyddio moddion addas i hyny hefyd.

Yn awr, yr unig drefn drwy ba un y dychwelir yn ol i'r cyweirnod dechreuol, yw tynu ymaith effaith y cyfnewidiad a wnaed er cyrhaedd y cyweirnod newydd Er angraifft, bwriwn ein bod wedi trawsgyweirio o *c* lon, i *g* lon, ei phummed. Dangoswyd o'r blaen mai y drefn drwy ba un y gwneir hyny, yw dwyn *ff* lon i mewn, a'i gwneyd yn nod arweiniol i *g*; a thra y cedwir gafael yn y nod hwn, nis gellir adennill y cyweirnod gadawedig: ond os tynir ymaith effaith y llonnod, annghymhwysir *ff* i fod yn nod arweiniol i *g*, a thrwy hyny, dychwelir yn ol i'r cyweirnod cyntefig, sef i *c*. Gan hyny, yr unig bwnc i'w egluro yn bresenol yw hyn—trwy ba foddion y gellir tynu ymaith effaith y cyfnewidiad a wnaed, wrth drawsgyweirio.

Mewn gair, gwneir hyn drwy ddefnyddio y naturiol, a'i chwareu ar y cyfrwng a lonwyd neu a leddfwyd; ac felly, tynir ymaith effaith y llonnod neu y lleddfnod a ddefnyddiwyd er trawsgyweirio, a thrwy hyn, dygir y cyfryngau yn ol i'w sefyllfa naturiol. Er angraifft; eglurwyd o'r blaen mai yr unig ffordd i drawsgyweirio o *c* lon, i *g* lon, ei phummed, yw trwy roddi llonnod ar *ff*; ac fel y dywedwyd, tra y cedwir gafael ar *ff* lon, nis gellir dychwelyd yn ol i *c* lon naturiol. Ond os, ar ol trawsgyweirio i gyweirnod *g*, y dygir i mewn *ff* naturiol, annghymhwysir *ff* i fod yn nod arweiniol i *g*, ac arweinir yr erddygan yn ol i *c* lon, ei chyweirnod dechreuol.

Er mwyn gwneyd hyn mor ddealladwy ag y gallwn, gosodwn ger bron yr efrydydd yr angreifftiau canlynol.

Dechreuwn gyda'r trawsgyweiriad cyntaf, sef o unrhyw gyweirnod llon i'w bummed llon; a ffurfiwn y dychweliad i'r cyweirnod gwreiddiol, ar yr angreifftiau a roddwyd o'r cyfryw drawsgyweiriad.

## ANGREIFFTIAU.

*Myned o C lon, i G lon, ei phummed, a dychwelyd yn ol i C.*



*Myned o G lon, i D lon, ei phummed, a dychwelyd yn ol i G.*



*Myned o D lon, i A lon, ei phummed, a dychwelyd yn ol i D.*



*Myned o A lon, i E lon, ei phummed, a dychwelyd yn ol i A.*



*Myned o E lon, i B lon, ei phummed, a dychwelyd yn ol i E.*



*Myned o B lon, i Ff lon, ei phummed, a dychwelyd yn ol i B.*



*Myned o Ff lon, i C lon, ei phummed, a dychwelyd yn ol i Ff.*



Yn ngwyneb yr angreifftiau blaenorol, fe wêl yr efrydydd ein bod yn y ddau fan blaenaf, yn symud yn y cyweirnod dechreuol; yn y trydydd, yn parotoi i'r pummed, sef y cyweirnod *a*, yn y pedwarydd, dan y saib, yn terfynu yn y cyweirnod hwnw. Ond yn y pummed, o herwydd dull symudiad y beroriaeth, derbynir y nod cyntaf, nid fel chweched y cyweirnod newydd, ond fel trydydd yr hen gyweirnod; ac yn y nodyn canlynol (y naturiol), tynir ymaith effaith y llonnod, a threfnir y cyfryngau i ddynodi yr hen gyweirnod, fel y cyweirnod priodol.

Rhoddir yr angreifftiau canlynol i egluro yr un mater, wedi eu ffurfio ar yr ail drawsgyweiriad.

## ANGREIFFTIAU.

***Myned o C lon, i Ff lon, ei phedwarydd, a dychwelyd yn ol i C.***



*Myned o Ff lon, i B lon, ei phedwarydd, a dychwelyd yn ol i Ff.*



***Myned o B lon, i E lon, ei phedwarydd, a dychwelyd yn ol i B.***





*Myned o E lon, i A lon, ei phedwarydd, a dychwelyd yn ol i E.*



*Myned o A lon, i D lon, ei phedwarydd, a dychwelyd yn ol i A.*



*Myned o D lon, i G lan, ei phedwarydd, a dychwelyd yn ol i D.*



*Myned o G lon, i C lon, ei phedwarydd, a dychwelyd yn ol i G.*

Wrth yr angreifftiau hyn eto, fe wêl yr efrydydd ein bod yn y ban cyntaf, yn chwareu yn hollol yn y cyweirnod dechreuol—yn yr ail, yn agor y ffordd drwy y nod lleddfedig, i'r pedwarydd, neu gyweirnod newydd—ac yn y trydydd, dan y saib, yn terfynu yn y cyweirnod hyny;—ond yn y pedwarydd, yr ydym yn dechreu trefn y seiniau i ddynodi *c* yn gyweirnod; a thrwy ddefnyddiad y naturiol, yn dwyn cyfryngau yr wython i berthyn i'r cyweirnod hwnw—ac yn y diwedd, yn terfynu yn yr unrhyw.

Rhag myned i ormod meithder gyda'r bennod hon, caiff yr angreifftiau blaenorol wasanaethu i egluro y dull o adferyd i'r cyweirnod dechreuol,yn mhob trawsgyweiriad; canys os dealla yr efrydydd y sylwadau a wnaed, yn nghyda'r angreifftiau a roddwyd, bydd yn alluog i w gyflawni yn mhob amgylchiad; canys ar yr un egwyddor y mae gweithredu bob amser.

Yn awr yr ydym wedi gosod ger bron yr efrydydd ein golygiadau ar drawsgyweiriant, yn nghyda'r dull o adferiad, mor eang a manwl ag y perthyna i gerddoriaeth arwest. Gallasem chwanegu trawsgyweiriadau wedi eu ffurfio ar y raddfa orseiniol. Ond yr ydym yn ymattal, ar y golygiad na byddent o wir fuddioldeb; o ganlyniad i raddau yn ansynwyrgall, yn neillduol mewn lle mor gyfyngedig ag yw y gramadeg hwn, a phan y mae genym gymaint o bethau angenrheidiol i'w hegluro. Nid yw arferyd y cyfryw drawsgyweiriadau yn perthyn ond i feistriaid yn unig. Ac yn wir, er i ni egluro y raddfa orseiniol yn fanwl ac helaeth, (er mwyn eangu meddwl yr efrydydd, a gwneyd y gwaith mor gyflawn ag y dymunesid,) eto, pa mor belled y gellir ac y dylid ei dwyn i ymarferiad mewn unrhyw gysylltiad, a adawaf i farn y cerddor synwyrbwyll.

Ond cyn terfynu, crybwyllwn yn mhellach, nad yw dwyn i mewn y cyfnewidiadau a eglurwyd uchod, yn holl-ol ddigon mewn trawsgyweirio; ond hefyd y dylid gofalu am iawn drefn yn y beroriaeth a'r gynghanedd. Dylai y beroriaeth symud mewn seiniau ag a arweinia y trawsgy-weiriad yn esmwyth a naturiol; gan ddwyn i mewn y prif gyfryngau a berthyn i'r cyweirnod. *

Hefyd, pan fo yr erddygan yn cynwys mwy nag un llais, rhaid trefnu y gynghanedd i gyduno yn y trawsgy-weiriad, heb un gwrthdarawiad, gan ddwyn i mewn yr hyn sydd yn neillduol ac hanfodol mewn cynghanedd, i drawsgyweirio. †

## PEN. V.

### *ACENIAETH.*

WRTH Aceniaeth, mewn cerddoriaeth, y meddylir, trefniad mesurol a rheolaidd yr erddygan, yn ol deddf-au mydraeth.

Wrth draethu ar y rhan yma o gerddoriaeth, bydd yn angenrheidiol i ni sylwi yn flaenaf, ar *fydraeth,* neu gyf-ansoddiad barddoniaeth emynawl ‡—ac yn nglŷn â hyn gyfansoddiad cerddoriaeth ; a thrwy hyny, bydd yr un-deb naturiol sy rhyngddynt yn ymddangos i raddau, ac yn agor y drws i ymchwiliad pellach yr efrydydd.

* Sylwir ar hyn yn mhellach yn Rhan 4.

† Eglurir hyn yn Rhan 3.

‡ Dealled yr annghyfarwydd mai nid amcan yr awdwr, yn y bennod uchod, yw egluro rheolau barddoniaeth Gymreig, yn ddim pellach nag i amlygu i'r efrydydd cerddorol, natur pwysleisiaeth a mesur.

Y mae prif fesurau barddoniaeth Gymreig (sef y mes-urau caeth, fel y gelwir hwy) yn sylfaenedig ar ddeddfau tra gwahanol i'r mesurau a arferir mewn cerddoriaeth eglwysig (sef emynau), pa rai yn unig y gelwir arnynt uchod. Er mae'n wir fod corfaniaeth drwg i'w feio yn y

Wrth ddarllen barddoniaeth, y mae yn naturiol i bawb roddi pwys ar rai sillau yn fwy nâ'u gilydd, fel y gwelir wrth y pennill canlynol,—

---

mesurau caeth, eto, nid hyn yw y prif beth, eithr cynghanedd. Ond yn y mesurau rhydd (fel y gelwir hwy), y prif beth yw corfaniaeth a mesur, heb un golygiad ar gynghanedd.

Gan fod y fath undeb rhwng cerddoriaeth a barddoniaeth, dylai pob cerddor lafurio i ddeall barddoniaeth, yn neillduol os amcana fod yn gyfansoddwr, er mwyn blaenllymu ei deimladau awenyddiol.

Drwg gan awdwr y gramadeg hwn nad allai gyfeirio yr efrydydd at ryw lyfr yn egluro y wybodaeth yn gyflawn. Os oes y fath yn bod, y mae ef yn anwybodus o hono. Gwych fuasai gauddo ei hun gael cynorthwy y cyfryw, wrth ysgrifenu y bennod uchod. Y mae yn wybodus fod rheolau barddoniaeth yn cael eu hegluro mewn amryw o lyfrau, ond eu bod yn cyfeirio yn benaf (a'r rhan fwyaf yn unig) at y mesurau caeth. Gwael na fuasai rhyw fardd galluog wedi cymeryd y gorchwyl mewn llaw, a gosod y sylfaen i lawr i ddechreu, drwy draethu ar natur a chyneddfau barddoniaeth—ac yna goruwchadeiladu yn rheolaidd, drwy egluro y deddfau perthynol i bob math o gyfansoddiad, o'r pennill mwyaf syml, hyd at orchest y beirdd. Y goreu a welodd yr awdwr hyd yn hyn, yw "CYFRINACH BEIRDD YNYS PRYDAIN," gan y diweddar fardd enwog Iolo Morganwg; ond rhaid addef ei fod yn ddiffygiol o ran mater,—yn anniwylliedig o ran iaith,—ac yn anathrenaidd o ran tymher.

Y mae rhyw benboethni eithafus yn y beirdd yn gyffredin, nas gwn yn iawn pa yw yr achos. Myn rhai nad oes neb yn fardd os nad all gyfansoddi yn y mesurau caeth, fel pe bae barddoniaeth yn gynwysedig mewn sain a mesur. Myn ereill, yn wahanol, gollfarnu y mesurau hyny, fel pe bae barddoniaeth yn ymwrthod â rhyw fesur neillduol. Ond cofied y naill blaid nad mesur sydd yn rhoddi teilyngdod i farddoniaeth; a chofied y blaid arall, yr hyn a ddywedodd Pedr Fardd,

Nid oes fawa na dwys fesur,
O un baich i awen bur.

Mae'r *iachawdwriaeth fel* y *môr*,
Yn *chwyddo byth* i'r *lan*;
Mae *yn*ddi *ddi*gon *di*gon *byth*,
I'r *truan ac* i'r *gwan*.

[D. S. Y mae y llythyrenau Italaidd yn dynodi y pwyslais.]

Dyma y dull y mae natur yn ei nodi allan fel yr unig fodd i ddarllen yn gywir. Ymddengys hyn yn mhellach pe yr amcenid ei bwysleisio fel hyn,—

*Mae*'r iach*awdwriaeth* fel *y* môr,
*Yn* chwydd*o* byth *i'r* lan ;
*Mae* y*nddi* ddi*gon* di*gon* byth,
*I'r* tru*an* ac *i'r* gwan.

Byddai hyn yn hynod o anhawdd a gwrthun.

Yn awr, ymddibyna pwysleisiad barddonol, ar iawn drefniad y geiriau, yn ol eu pwysleisiad unigol a naturiol; neu fel y gelwir gan ramadegwyr, eu haceniad.

Gallwn ddosparthu geiriau y Gymraeg, yn eu cysylltiad â'r pwnc dan sylw, i bedwar math,—sef, *unsill*, *deusill*, *trisill*, *pedwarsill ac uchod*.

Geiriau unsill ydynt o ddau fath,—sef 1, hir, megys glân, tân, &c., ac yn 2, byr, megys glàn, tàn.

Geiriau deusill ydynt o ddau fath,—sef 1, y rhai â'r pwyslais ar y sill flaenaf, megys *can*u, *dyn*ol, a'r cyffelyb. * Yn 2, y rhai sydd â'r pwyslais ar y sill olaf megys mwyn*hau*, ym*droi*.

Geiriau trisill ydynt o ddau fath,—sef 1, y rhai sydd â'r pwyslais ar y sill ganol, † megys er*ddy*gan, can*iad*-

* I'r dosparth yma y perthyn holl eiriau deusill y Gymraeg, oddieithr rhai eithriadau; canys rheol gyffredin yr iaith yw, bod y pwyslais (acan) yn disgyn ar y sill gyntaf mewn geiriau deusill.

† I'r dosparth yma hefyd y perthyn holl eiriau trisill

-au. Yn 2, y rhai sydd â'r pwyslais ar y sill ddiweddaf, megys llawen*hau*, ymdde*ffroi*.

Geiriau pedwarsill ac uchod a ellir eu dosparthu yn ddau fath,—sef 1, y rhai sydd â'u pwyslais (prif, neu sillafog) ar y sill ddiweddaf ond un; a'r pwyslais peiriannol,* (neu adbwyslais,) bob yn eilsill yn ol i ddechre y gair, megys êrddy*gan*au, grâmad*eg*au. Yn 2, y rhai sydd â'r pwyslais sillafog ar y sill ddiweddaf, a'r pwyslais peiriannol bob yn eilsill yn ol i ddechre y gair, megys ymgŷfiawn*hau*.

---

y Gymraeg, oddieithr rhai eithriadau; canys rheol gyffredin yr iaith yw, bod pwyslais y geiriau trisill yn disgyn ar y sill ganol.

* Ond odid nad ymddengys yr enwadau *pwyslais sillafog*, a *phwyslais peiriannol*, yn ddyeithr i'r darllenydd, gan nas gwn i neb o'r awduron Cymreig eu defnyddio o'm blaen: gan hyny caniatäer i mi roddi eglurhâd byr arnynt yma.

Y mae yn amlwg i'r ieithydd ymchwilgar, nad oes, ac nad all fod, ond un prif bwyslais ar unrhyw air yn ein hiaith, boed o'r hyd a fo, a hwnw, yn gyffredin, ar y sill ddiweddaf ond un: hwn a alwaf yn brif bwyslais. A chymeryd fod hyn yn brofadwy, gellir dangos yn hawdd beth yw y pwyslais peiriannol. Wrth ynganu (*pronounce*) geiriau, y mae gweithrediad a gwrthweithrediad yn y peiriannau ymadrodd. I seinio sillaf bwysleisiol, rhaid i'r peiriannau hyn gael eu gosod mewn ffurf benodol, ac oddiwrth eu natur, cyn y gallont seinio sillaf bwysleisiol arall, y mae yn rhaid iddynt adennill y ffurf yr oeddynt ynddo o'r blaen, cyn iddynt seinio y gyfryw sillaf. Nid yw yr amser a gymerir i adennill y ffurf ddechreuol hon, o angenrheidrwydd i gael ei golli; ond gellir ei lanw i fyny â sillaf anmhwysleisiol. I egluro hyn, defnyddiwn y geiriau un, dau, tri. Os seinir y geiriau unsill hyn yn araf a gwahannodol, fe roddir i bob un bwyslais a saib. Ond os rhoddir y cysylltiad *a* i mewn yn lle y saib, bydd y ddwy linell, sef

Trefniad rheolaidd a phenodol o'r geiriau hyn, yn ol sefyllfa y pwysleisiad, yw yr hyn a elwir yn fydraeth.

Yn y geiriau unsill, nid yw eu bod yn fyr neu yn hir, yn cyfnewid dim ar eu pwysleisiad barddonol.

Yn y geiriau deusill a thrisill, rhaid i'r pwyslais sillafog gyfateb i'r pwyslais barddonol. Ac yn y geiriau pedwarsill ac uchod, rhaid i'r pwyslais sillafol a pheiriannol, gyfateb i'r pwyslais barddonol, yn ddiwahaniaeth.

Yn ol fel yr unir y geiriau hyn â'u gilydd, y bydd natur corfanau * Cerddoriaeth; ac yn ol natur y corfan, rhaid i'r pennill neu emyn fod.

Y corfanau a ddefnyddir yn fwyaf cyffredin mewn emynau a salmau, ydynt y rywiog, talgron, a chrych-ddisgynedig.

---

Un, *a* dau, *a* thri,
ac
Un, dau, tri,

yn hollol yr un hyd yn eu perthynas â phwysleisiad a chynghanedd yr iaith.

Yn awr ar yr un egwyddor yr ydym yn gwahaniaethu y ddau bwyslais mewn ynganiad geiriau, megys er angraifft yn y gair erddyganau—fel hyn, érddy*gan*au; y sillaf flaenaf â'r pwyslais peiriannol; yr ail yn ddibwys; y drydedd â'r pwyslais sillafog (acan); a'r olaf yn ddibwys. Hyna yn fyr a weinydda (heb ymosod i ymresymu yn faith) i egluro y gwahaniaeth sy rhwng y pwyslais sillafog a'r peiriannol mewn geiriau: y blaenaf yn ymddibynu ar briod-ddull iaith, ond yr olaf ar natur y peiriannau ymadrodd.

* Wrth gorfan y meddylir y rhaniad lleiaf ar fan neu bennill, a bydd bob amser yn ddeusill neu dri. Er angraifft; y linell, "Mae brodyr ini aeth yn mlaen," a gorfanir fel hyn,—"Mae | brodyr | ini | aeth yn | mlaen."

ADRAN I.—AM Y CORFAN RYWIOG.

Y corfan rywiog a ffurfir o ddwy sill, y flaenaf yn bwysleisiol, a'r olaf yn ddibwys. Y mae un gair deusill o'r dosparth cyntaf yn gwneyd corfan rywiog o hono ei hun; megys *canu*, *dynol*.

Mewn cerddoriaeth, gellir nodi y corfan yma fel hyn,




1. Y mesur byraf a genir ar y corfan yma yw hwnw a ffurfir o bedwar corfan yn y linell flaenaf, yn gynwysedig mewn saith sill; a dau yn yr ail, yn gynwysedig mewn pedair sill; a'u canu felly bob yn ail drwy y pennill, fel hyn,—

*Ang*eu *ac* eir*iol*aeth *Crist* *
*Yw* 'ngor*fol*edd;
*Hyn* a *ddwg* i'm *hen*aid *trist*,
*Lawn* dang*nef*edd:
*Coll*ai'r *ddeddf* ei *damn*iol *rym*,
*Ar* Gal*far*ia;
*Dof*wyd *llid* cyf*iawn*der *llym*,
*Ha*le*liw*ia.

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—




Y llinellau ereill yr un modd.

2. Yr ail fesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o bedwar corfan yn mhob llinell yn y pennill; ac yn gynwysedig mewn saith sill: fel hyn,—

* Gall gair unsill yn niwedd y fraich, gynwys y corfan; ond rhaid iddo gael amser deusill.

*'Does* gy*ffel*yb *iddo ef,*
*Ar* y *ddae*ar, *yn* y *nef;*
*Trech* ei *allu*, *trech* ei *ras,*
*Na* dyfn*der*oedd *cal*on *gas.*

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—







Yr un modd y rhan olaf.

Yn aml estynir y pennill i chwe llinell: fel hyn,—

*Beth* sydd *imi yn* y *byd?*
*Gor*thrym*der*au *mawr* o *hyd;*
*Gel*yn *ar* ol *gel*yn *sydd*
*Yn* fy *nghlwyf*o *nos* a *dydd:*
*Medd*yg *ar*choll*ed*ig *rai,*
*Dere*'n *fuan i'm* hiach*au*.

Weithiau estynir i wyth linell; ond nid yw hyny ond dybliad y prif fesur.

3. Y trydydd mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o bedwar corfan yn y linell flaenaf yn gynwysedig mewn wyth sill; o ddau yn yr ail a'r drydedd, yn gynwysedig mewn tair sill bob un; ac o dri yn yr olaf, yn gynwysedig mewn chwe sill: fel hyn,—

*Deffro, f'en*aid, *deff*ro'n *ufydd,*
*C'od* yn *awr,*
*Gyd*a'r *wawr,*
*Seinia gan*iad *new*ydd.

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—




4. Y pedwarydd mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o bedwar corfan yn y linell flaenaf, yn gynwysedig o wyth sill; ac o bedwar corfan yn yr ail linell, yn gynwysedig o saith sill; ac i'w canu felly bob yn ail trwy y pennill: fel hyn,—

*Marcho*g, *Ie*su, *yn* llwydd*iann*us,
*Gwisg* dy *gleddy*f *ar* dy *glun;*
*Nis* gall *dae*ar dy wrth*sefy*ll,
*Chwaith* nag *uffe*rn *fawr* ei *hun;*
*Mae* dy *enw mor* ar*dderch*og,
*Pob* rhyw *ely*n *gili*a *draw,*
*Mae* rhyw *ars*wyd *trwy'r* grea*dig*aeth *
*Pan* y *bydd*ych *di* ger *llaw.*

Mewn cerddoriaeth, cenir y mesur fel hyn,—




* Lle bo llithriad byrwydd yn seiniad y llafariaid yn alluadwy, gwell yw na thalfyriad; fel yn y gair creadigaeth, ac nid cre'digaeth. Ond nid yw yn rheolaidd i'r cyfryw lithriad gael ond amser unsill.

5 Y pummed mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o'r mesur blaenorol, trwy chwanegu tair llinell at hanner y pennill; y ddwy flaenaf wedi eu ffurfio o ddau gorfan bob un, ac yn gynwysedig mewn tair sill bob un; a'r ddiweddaf o bedwar corfan, yn gynwysedig mewn saith sill: fel hyn,—

*Ar*glwydd, *an*fon *dy* lef*er*ydd
*Heddy*w *yn* ei *rwysg* a'i *rym;*
*Dan*gos *fod* dy *lais* yn *gryf*ach
*Nas* gall *dyn* wrth*sef*yll *ddim:*
*Cerdd* yn *mlaen,*
*Nef*ol *dân,*
*Cym*mer *yma* *fedd*iant *glân.*

Mewn cerddoriaeth, banir y rhan flaenaf o'r pennill yr un modd a'r pennill blaenorol; ond y rhan olaf fel hyn,—




6. Y chweched (a'r diweddaf) mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir yr un modd a'r un blaenorol, trwy chwanegu dwy linell at hanner y pedwarydd mesur; y linell flaenaf wedi ei ffurfio o ddau gorfan, yn gynwysedig mewn pedair sill; a'r llall o bedwar corfan, yn gynwysedig o saith sill: fel hyn,—

*Dal* fy *llyg*ad, *dal* heb *wyro,*
*Dal* ef *ar* d'adde*wid* *wir,*
*Dal* fy *nhraed* heb *gy*nyg *ysgog*
*Allan* o dy *gyf*raith *bur;*
*Boed* 'dorch'*my*nion
*Imi'n* *gysur* *ac* yn *hedd.*

Mewn cerddoriaeth, banir y rhan olaf o hwn eto fel hyn,—




ADRAN II.—CORFAN TALGRWN.

Corfan talgrwn a ffurfir o ddwy sill, y flaenaf yn ddibwys, a'r llall yn bwysleisiol; megys ym*droi*. Y mae gair deusill o'r ail ryw yn gwneyd un corfan talgrwn.

Mewn cerddoriaeth gellir nodi y corfan yma fel hyn,—




1. Y mesur byraf a genir ar y corfan yma yw hwnw a ffurfir o dri corfan, yn y linell flaenaf, yr ail, a'r bedwarydd, ac yn gynwysedig mewn chwe sill bob un; a'r dryddedd o bedwar corfan, yn gynwysedig mewn wyth sill: fel hyn,—

Ti *Ie*su *Fren*in *nef,*
F' an*wyl*yd *a* fy *Nuw;*
Yn *eith*af *pell* o *dŷ* fy *Nhad,*
Mewn *an*ial *wlad* 'rwy'n *byw.*

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—






Yn aml dyblir y mesur hwn fel hyn,—

Daeth *bore* '*nad*ar *mân*,
Ar *dân* i *fol*i *Duw*;
Yn *awr* mae'r *haul* â'r *hy*fryd *hîn*,
Ar *rai* o'r *wer*in *wiw*;
Fe *ddaeth* y *Ju*bi*li*,
On'd *braf* yw'n *bri* a'n *braint*?
Cawn *fyn*ed *a*dref, *ar* fyr *dro*,
I *sein*io *gyd*a'r *saint*.

2. Yr ail fesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o dri corfan yn y linell flaenaf, yn gynwysedig mewn chwe sill; yr ail o dri corfan, yn gynwysedig mewn saith sill; y drydedd o bedwar corfan, yn gynwysedig mewn wyth sill; a'r bedwaredd yr un fath a'r ail: fel hyn,—

A*berth*au *Duw* i *gyd*,
Yw *ys*bryd *pur* dryll*ied*ig; *
Ac *ni* ddiy*styr*i, *O* Dduw *Ion*,
Y *gal*on *gys*tudd*ied*ig.

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—




* Nid yw y sill derfynol *ig* yn hanfodol i fydyr y linell; ond dygir hi i mewn trwy ryddid barddonol. Felly y gwna y Saeson yn aml. Er angraifft arallebwn y linell ganlynol, *Our hearts no longer languish.*




3. Y trydydd mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o bedwar corfan yn y linell flaenaf a'r drydedd, yn gynwysedig mewn wyth sill bob un; ac o dri corfan yn yr ail a'r bedwaredd, yn gynwysedig mewn chwe sill bob un: fel hyn,—

'Rwy'n *mor*io *tua* *char*tre'm *Ner*,
  Rhwng *ton*au *maith* 'rwy'n *byw*.
Yn *ddyn* heb *neg*es *tan* y *ser*,
  Ond *mof*yn *am* ei *Dduw*.

Mewn cerddoriaeth banir y mesur fel hyn,—




Yr un modd yr hanner olaf.

4. Y pedwarydd mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o bedwar corfan yn y linell flaenaf a'r drydedd, yn gynwysedig mewn wyth sill bob un; ac o

dri corfan yn yr ail a'r olaf, yn gynwysedig mewn saith sill bob un: fel hyn,—

Clod*for*af *fi* fy *Ar*glwydd *Ion*
O'm *cal*on *ac* yn *holl*awl:
Ei *ryf*edd*od*au *rho'f* ar *led*,
Ac *mae'n* ddyléd eu *can*mawl.

Mewn cerddoriaeth banir y mesur fel hyn,—







Yr un modd yr hanner olaf.

5. Y pummed mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o bedwar corfan yn mhob llinell; ac yn gynwysedig mewn wyth sill bob un: fel hyn,—

Mae *mor*oedd *a* myn*ydd*oedd *maith*,
Yn *sein*io *maes* mewn *eg*lur *iaith*,
A'r *holl* grea*dur*iaid *o* bob *rhyw*,
Yn *dweyd* mai *rhy*fedd *iawn* yw *Duw*.

Mewn cerddoriaeth banir y mesur fel hyn,—







Yr un modd hefyd y rhan ddiweddaf.

6 Y chweched mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o bedwar corfan yn y ddwy linell flaenaf, yn gynwysedig mewn wyth sill bob un; o dri corfan yn y drydedd, yn gynwysedig mewn chwe sill; y bedwaredd a'r bummed yr un fath a'r gyntaf a'r ail; a'r olaf yr un fath a'r drydedd: fel hyn,—

O *pwy* yw *hon* sy'n *d'od* yn *hy*,
Yn *lew* i'r *lân* fel *rhwng* dau *lu*,
O'r *dy*wyll *Aipht*aidd *wlad*,
Gan *rodd*i *pwys* ei *he*naid *pur*
Ar *Iesu gwiw*'r Messia *gwir*,
Ei *Ffrind* a'i *Phryn*wr *rhad*.

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—










Yr un modd yn y rhan ddiweddaf.

7. Y seithfed mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o dri corfan yn y linell flaenaf a'r ail, yn gynwysedig mewn chwe sill bob un; y drydedd o ddau gorfan yn gynwysedig mewn pedwar sill; y bedwaredd, y bummed, a'r chweched yr un fath a'r gyntaf a'r ail; a'r olaf yr un fath a'r drydedd: fel hyn,—

Iach*awdwr* *dyn*ol*ryw*,
Ty*di* yn *un*ig *yw*
Fy *Mu*gail *da ;*
Mae *ang*eu'r *groes* yn *llawn*
O *bob* rhin*wedd*ol *ddawn*,
A *ffrwyth*au *mel*us *iawn*,
Rhai *a'm* hiachâ.

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—




Banir y rhan ddiweddaf yr un modd.

8. Yr wythfed mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o dri corfan yn y linell flaenaf, yn gynwysedig mewn chwe sill; o ddau gorfan yn yr ail linell, yn gynwysedig mewn pedwar sill; y drydedd yr un fath a'r gyntaf; y bedwaredd yr un fath a'r ail; y bummed, y chweched, a'r seithfed yr un fath a'r gyntaf a'r drydedd, a'r olaf yr un fath a'r ail a'r bedwaredd: fel hyn,—

Nis *gall*odd *ang*eu *du*
Ddal *Ie*su'n *gaeth*
Ddim *hwy* nâ'r *tryd*ydd *dydd*,
Yn *rhydd* fe *ddaeth :*
Ni *ddel*ir *un* o'i *blant*,
Er *myn'd* i *bant* y *bedd*,
Fe'u *gwel*ir *ger* ei *fron*
Yn *llon* eu *gwedd*.

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—













9. Y nawfed mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o dri corfan yn y ddwy linell flaenaf, yn gynwysedig mewn chwe sill bob un; o bedwar corfan yn y drydedd, yn gynwysedig mewn wyth sill; o ddau gorfan yn y bedwaredd, yn gynwysedig mewn pedwar sill; y bummed a'r chweched yr un fath a'r gyntaf a'r ail; y seithfed yr un fath a'r drydedd, a'r wythfed yr un fath a'r bedwaredd: fel hyn,—

Am *fod* fy *Ie*su'n *fyw*,
   Byw *hef*yd *fydd* ei *saint;*
Er *gor*fod *godd*ef *poen* a *briw,*
   Mawr *yw* eu *braint:*
Bydd *mel*us *lan*io *draw,*
   'Nol *bod* o *don* i *don;*
Ac *mi* ro'f *ffar*wel *maes* o *law*
   I'r *ddae*ar *hon.*

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—













Yr un modd hefyd y rhan olaf o'r pennill.

10. Y degfed mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o dri corfan yn y ddwy linell flaenaf, yn gynwysedig mewn chwe sill bob un; o ddau gorfan yn y drydedd, yn gynwysedig mewn pedwar sill; y bedwaredd yr un fath a'r ddwy flaenaf; o bedwar corfan yn y bummed a'r seithfed, yn gynwysedig mewn wyth sill bob un; o dri corfan yn y seithfed, yn gynwysedig mewn saith sill; a'r ddiweddaf yr un fath a'r flaenaf: fel hyn,—

Fe *dder*fydd *dwyn* y *groes*,
  Yn *lân*, a *phob* rhyw *loes;*
Cawn *adaw'r* *byd*,
  A'r *ad*fyd, *ber* yw'r *oes:*
Bydd *Seion* *wych* mewn *siriol* *wawr*,
  'Nol *codi* o'r *llwch* a *gad*aw'r *llawr*,
Ar *ddys*glaer *wedd* ei *Phri*od,
  Yn *moli'r* *Duw*dod *mawr*.

**Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—**

Fe *dder*-fydd *dwyn* y *groes,* Yn *lân,* a *phob* rhyw *loes;*

Cawn *ad*-aw'r *byd,* A'r *ad*·fyd, *ber* yw'r *oes:* Bydd

*Sei*-on *wych* mewn *sir*—iol *wawr* 'Nol *codi* o'r *llwch* a *gad*-aw'r *llawr,*

Ar *ddys*-glaer *wedd* ei *Phri*—od, Yn *mol*—i'r *Duw*-dod *mawr.*

11. Yr unfed mesur ar ddeg a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o dri corfan yn mhob llinell, y gyntaf yn gynwysedig mewn saith sill, a'r ail mewn chwech ; ac felly bob yn ail linell hyd ddiwedd y pennill : fel hyn,—

O *Iach*awd*wr*iaeth *gad*arn,
 O *iach*awd*wr*iaeth *glir!*
Fu *dyf*ais *o'i* chy*ffel*yb
 Er*ioed* ar *fôr* na *thir* :
Fe *rodd* ei *fyw*yd *tros*om,
 Beth *all* ef *ballu* *mwy* ?
Mae *myrdd* o *dru*gar*edd*au
 Di*fes*ur *yn* ei *glwy'*.

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—







Yr un modd hefyd drwy y pennill.

12. Y deuddegfed mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o bedwar corfan yn y tair llinell flaenaf, yn gynwysedig o wyth sill bob un ; o dri corfan yn y bedwaredd, yn gynwysedig o chwe sill ; y bummed, y chweched, y seithfed, yr un fath a'r tair flaenaf ; a'r olaf yr un fath a'r bedwaredd ; fel hyn,—

Nid *yw* y *ddae*ar *fawr* i *gyd*
Ddim *teil*wng *o* fy *serch* a'm *bryd*,
Nac *unr*hyw *wrth*ddrych *yn* y *byd* ;
 'Rwy'n *caru* *gwrth*ddrych *mwy* :

Nid *llai* y *sawl* wy'n *gar*u *yw,*
Nâ *pher*ffaith *ddyn* a *pher*ffaith *Dduw,*
Dyodd*ef*odd *tros*of *far*w*ol* *friw,*
O! *werth*fawrocaf *glwy'!*

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—













Y rhan ddiweddaf i'w fanu yr un modd.

13. Y mesur diweddaf a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o bedwar corfan yn y fraich flaenaf, yn gynwysedig mewn wyth sill; o dri corfan yn yr ail, yn gynwysedig mewn chwe sill; y drydedd yr un fath a'r gyntaf; y bedwaredd yr un fath a'r ail; y bummed, y chweched, a'r seithfed, yr un fath a'r flaenaf; a'r olaf yr un fath a'r ail: fel hyn,—

Mae'n *llon'd* y *nef*oedd, *llon'd* y *byd,*
Llon'd *uff*ern *hef*yd *yw;*
Llon'd *tragwydd*ol*deb* *maith* ei *hun,*
Di*derf*yn *ydyw* *Duw:*

Mae'n *llon'd* y *gwag*le *yn* ddi*goll,*
Mae *oll* yn *oll* a'i *all*u'n *un,*
An*feidr*ol *an*nher*fyn*ol *Fôd,*
A'i *han*fod *yn*ddo'i *hun.*

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—







Y rhan arall hefyd yr un fel.

ADRAN III.—CORFAN CRYCH DDISGYNEDIG.

Corfan crych ddisgynedig a ffurfir o dair sill, y flaenaf yn bwysleisiol, a'r ddwy arall yn ddibwys: megys

*Gwerth*fawr yw.

Nis gellir cael y corfan yma ar un gair unigol yn ein hiaith; ond dygir o i mewn mewn cyfansoddiad.

1. Y mesur blaenaf a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o ddau gorfan yn y ddwy linell flaenaf, yn gynwysedig o bum sill bob un; o dri corfan yn y drydedd fraich, yn gynwysedig mewn wyth sill; y bedwaredd a'r bummed, yr un fath a'r gyntaf a'r ail; a'r olaf, yr un fath a'r drydedd: fel hyn,—

Ar *Gal*fari *fryn,*
Ag*or*wyd cyn *hyn*
Ryw *ffyn*non an*feidr*ol ei *rhin*:
Hi *holl*ol lan*ha*
Af*len*did a *phla,*
Hi *gân*a yr *Eth*iop yn *wyn.*




Yr un modd hefyd yr hanner arall o'r pennill.

2. Yr ail fesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o ddau gorfan yn y ddwy linell flaenaf, yn gynwysedig mewn pum sill bob un; ac o bedwar corfan yn y linell olaf, yn gynwysedig mewn unarddeg o sillau: fel hyn,—

> Trwy'r *byd* y bo *son*
> Am *bwr*cas ei *boen*,
> A *chan*ed pob *teu*lu mal *teil*wng yw'r *Oen*.

Dyblir y mesur hefyd fel hyn,—

> Y *cys*ur i *gyd*,
> Sy'n *llan*w fy *mryd*,
> Fod *gen*yf drys*or*au uwch *gwy*bod y *byd*;
> Ac *er* bod hwy *'nghudd*,
> Nas *gwel* hwy ond *ffydd*,
> Caf *eg*lur ddat*gudd*iad o *hon*ynt rhyw *ddydd*.

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—






Yr un modd hefyd yr hanner arall.

3. Y trydydd mesur a genir ar y corfan yma yw hwnw a ffurfir o ddau gorfan yn y tair llinell flaenaf, yn gynwysedig mewn pum sill bob un; ac o bedwar corfan yn y linell olaf, yn gynwysedig mewn unarddeg o sillau: fel hyn,—

Fy *Iesu* gaiff *byth*
Y *clod* yn ddi*lyth,*
Trwy'r *ddae*ar a'r *nef*:
Fe *roes* ei hun *tros*of, fy *myw*yd yw *Ef*:

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—



4. Y pedwarydd mesur a genir ar y corfan yma yw hwnw a ffurfir o dri corfan yn mhob llinell, yn gynwysedig mewn wyth sill bob un: fel hyn,—

A *drig*o'n nghym*deith*as y *Tad*,
  Ei *ad*en yn *gau*ad a'i *cudd;*
Caiff *wel*ed trwy'r *a*berth a'i *ras*,
  Ddir*gel*wch ei *deyrn*as bob *dydd:*
Dy*wed*af—Fy *nodd*fa yw'm *Ner*,
  A'm *ty*ner Wa*red*wr yw'r *Ion;*
Ac *yn*ddo go*beith*iaf heb *baid*,
  Am *dan*o fy *en*aid a *son*.

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—







Yr un modd y llinellau ereill.

5. Y pummed mesur a genir ar y corfan yma yw hwnw a ffurfir o dri corfan yn mhob llinell, y flaenaf yn gynwysedig mewn naw sill, a'r ail mewn wyth; ac felly bob yn ail hyd ddiwedd y pennill: fel hyn,—

Y *Llew* o lwyth *Ju*da orch*fyg*odd,
  Pa *el*yn all *sef*yll o'i *flaen?*
Mae *Sei*on yn *teith*io tuag *a*dref,
  Mewn *cer*byd dy*chryn*llyd o *dân:*
Bydd *mil*oedd o *saint* ac an*gel*ion,
  Yn *dorf* ogon*edd*us yn *nghyd*,
Yn *can*u rhyw *an*them dra*gwydd*ol
  Go*gon*iant i *Bryn*wr y *byd*.

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—







Yr un modd hefyd y llinellau ereill.

6. Y chwechedd mesur a genir ar y corfan yma yw hwnw a ffurfir o bedwar corfan yn mhob llinell, yn gynwysedig mewn unarddeg o sillau bob un: fel hyn,—

> Yr *af*on a *lif*odd rhwng *nef*oedd a *llawr*,
> Yw *sail* fy ngor*fol*edd a' *nghys*ur yn *awr*;
> Ar *fyn*ydd Cal*far*ia y *tardd*odd yr *hedd*,
> A' *Mhri*od sy'n *cad*w ag*or*iad y *bedd*.

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—










Yr un modd hefyd y rhan olaf.

7. Y seithfed (a'r diweddaf) mesur a genir ar y corfan yma, yw hwnw a ffurfir o bedwar corfan yn mhob llinell, yn gynwysedig mewn deuddeg sill bob un: fel hyn,—

Llais *hy*fryd rhad *ras* sydd yn *gwaedd*i, Di*ang*fa;
Yn *nghlwyf*au Mab *Duw*, idd yr *euog* mae *nodd*fa:
Fe *red*odd ei *waed* ef yn *ffryd*iau iach*us*ol,
I *olch*i af*len*did a *phech*od yn *holl*ol:
Hale*liw*ia i'r *Oen!* a bwr*cas*odd ein *pard*wn,
'Nol *croes*i'r Ior*ddon*en dra*chefn* ni a'i *mol*wn.

Mewn cerddoriaeth, banir y mesur fel hyn,—










Y gweddill hefyd yr un modd.

Yn awr yr ydym wedi gosod ger bron yr efrydydd, luaws o bennillion er egluro natur corfanau barddoniaeth, ac oddiwrth hyny natur banau cerddoriaeth. Ond na thybied ef fod y pennillion hyn yn cynwys yr oll a ganwyd, neu a ellir ganu, ar y gwahanol gorfanau; eto, os dalia yn fanwl ar y sylwadau a wnaed ar eiriau yr iaith, &c., ac yn ngwyneb hyny ddadgylymu y corfanau yn y gwahanol fesurau, ymddengys fod yr hyn a roddwyd yn ddigon er dwyn yr efrydydd yn alluog yn y pwnc.

Oddiwrth yr eglurhâd a roddwyd, ar adranau bardd-

oniaeth a cherddoriaeth, gellir casglu yn naturiol y sylwadau canlynol:—

1. Nid oes ond dau *fydyr* yn bod, hyny yw dau fath o fesurau o barth natur symudiad barddoniaeth, sef *mydyr cyffredin*, a *mydyr triphlyg*.

Rhaid i bob corfan cyflawn mewn barddoniaeth yn y mydyr cyffredin, gynwys dwy sill; ac i bob corfan cyflawn yn y mydyr triphlyg, gynwys tair sill.

Pob cyfansoddiad a genir ar y corfan *rywiog* a *thalgron*, a berthyn i'r mydyr cyffredin: a phob cyfansoddiad a genir ar y corfan *crychddisgynedig*, a berthyn i'r mydyr triphlyg.

Pob pennill o'r mydyr cyffredin y cyfansoddir erddygan ato, rhaid i'r gyfryw erddygan fod yn yr amser cyffredin, fel y dangoswyd yn yr angreifftiau ar y corfan rywiog a thalgron: a phob pennill o'r mydyr triphlyg y cyfansoddir erddygan ato, rhaid i'r erddygan fod yn yr amser triphlyg, fel y dangoswyd yn yr angreifftiau ar y corfan crych ddisgynedig.

Nid yw yn hanfodol angenrheidiol fod pob corfan yn y ddau fydyr yn cynwys eu nifer penodol o sillau, ond gellir llanw yr amser â goseb: fel hyn,—

*Mydyr cyffredin.*

𝄽 Mae | brod-yr | ini | aeth yn | mlaen 𝄽 |

*Mydyr triphlyg.*

𝄽 𝄽 Mi | wn fod fy | Mhryn-wr yn | fyw 𝄽 𝄽 |

Yr un modd hefyd mewn cerddoriaeth, nid yw yn hollol angenrheidiol i bob ban gynwys y nodau perthynol i'r amser, ond gellir cyflawni y diffyg drwy orphwysion: fel hyn,—

*Amser cyffredin*



*Amser triphlyg.*



Neu, gall corfan yn y mydyr cyffredin gael ei gynwys mewn un sill; ond bod i'r sill hyny gael cymaint o amser a dwy sill: fel hyn,—

Mae'r | ffynnon | heb ei | *chau* |

A gall ban yn yr amser cyffredin mewn cerddoriaeth, gael ei gynwys mewn un nod, ond bod i'r nod hwnw gael amser cyflawn y ban: fel hyn,—



Hefyd, gall corfan yn y mydyr triphlyg gael ei gynwys mewn dwy sill, neu un, ond bod i'r cyfryw gael cymaint o amser a thair sill: fel hyn,—

Trwy'r | byd y bo | *son* |

neu

Trwy'r | byd y bo | *son* |

A gall ban o'r amser triphlyg mewn cerddoriaeth gael ei gynwys mewn dau nod neu un, ond bod i'r cyfryw gael amser cyflawn y ban: fel hyn,—




Gan fod pob ban yn cynwys rhanau amryfal, gellir trefni y rhai hyn mewn dulliau gwahanol, fel bo yr achlysur, neu athrylith y cyfansoddwr, yn tueddu.

Rhoddwn y rhai canlynol yn angraifft.

*Amser cyffredin.*



*Amser triphlyg.*





Pa fodd bynag y trefnir y rhanau er ffurfio y ban, rhaid iddynt (yn nghyda'r seibiau) gyfateb i ddau adfanig yn yr amser cyffredin, ac i dri yn yr amser triphlyg.

Perthyna y sylwadau hyn yn unig i'r mesur yn ei sefyllfa syml ac unigol; y dull a'r ffurf naturiol.*

Bellach bydd yn angenrheidiol i ni egluro ychydig ar y cyfryw yn ei ffurf cyfansawdd.

Wrth ffurf cyfansawdd y meddylir, canu mwy nag un corfan barddonol mewn un ban cerddorol; yr hyn a wneir drwy ddefnyddio nodau llai o ran eu hyd, nâ'r nodau a berthyn yn naturiol i'r ban: fel hyn—

*Amser Cyffredin.*




*Amser Triphlyg.*




* Hyderwn fod yr efrydydd yn deall erbyn hyn, mai dull naturiol ac uniongyrchol yr amser cyffredin, yw dau nodyn neu darawiad yn y ban; er i ni yn y rhan flaenaf o'r gwaith hwn ganlyn awduron cerddorol (ar y dybiaeth y byddai hyny yn fwy rhwydd i'r canwr cyffredin, ac na byddai yn arwain i un gwall penodol), a nodi pedwar tarawiad, yr hyn mewn gwirionedd sydd gyfansawdd.

Ond cadw mewn cof yr eglurhâd a roddwyd ar gorfan a ban yn eu sefyllfa unigol, hawdd ydyw deall natur y ban yn ei ffurf gyfansawdd; canys nid yw yr olaf ond mynychiad y blaenaf, yn yr un faint o amser. Er mwyn gwneyd hyn mor amlwg ag y gallwn, defnyddiwn yr angreifftiau canlynol i'w egluro.

Yn yr amser cyffredin dangoswyd fod corfan barddonol yn gynwysedig mewn dwy sill, a hyny yn cyfateb i fan mewn cerddoriaeth: felly y linell ganlynol a nodir fel hyn,—

*Ar*glwydd, | *an*fon | *dy* lef- | *er*ydd |

Yn ol y dull unigol a naturiol o gorfanu y linell, ni a welwn y dylid ei chanu mewn pedwar ban cerddorol: fel hyn,—




Ond gadewch i ni ddefnyddio gorfanigion yn lle adfanigion, a chadw yr un amser a modd, bydd pedwar sill (ac nid dau) yn mhob ban; felly rhaid canu dau gorfan yn y ban (ac nid un); fel hyn,




Yn y mesur triphlyg hefyd, dywedwyd fod corfan barddonol yn gynwysedig mewn tair sill, a hyny yn cyfateb i fan mewn cerddoriaeth: y linell ganlynol gan hyny a nodir fel hyn,—

Caed | ffynnon o | ddwfwr a | gwaed |

Yn ol y dull syml o fanu y gerddoriaeth, rhaid canu y linell mewn pedwar ban; fel hyn,—




Ond gadewch i ni ddefnyddio gorfanigion yn lle banigion, a chadw yr un amser a modd, bydd chwe sill yn mhob ban (ac nid tair): felly rhaid canu dau gorfan yn y ban (ac nid un): fel hyn,—




Yn awr ni a welwn mai sefyllfa syml a naturiol y gerddoriaeth, yw, bod ban o'r cyfryw yn cyfateb i gorfan barddonol—dwy sill yn y mesur ac amser cyffredin; a thair yn y mesur ac amser triphlyg—y gellir llanw y ban â llai o sillau,—ac y gellir ei lanw â mwy nâ'i ddull naturiol, yr hyn sydd yn dwyn y gerddoriaeth i'w ffurf gyfansawdd.

Yn ngwyneb y sylwadau hyn, y mae yn hawdd canfod pa le y mae y prif bwyslais (neu acan) yn gorphwys. *

Yn y ffyrdd syml yn *mhob amser a modd,* disgyna ar y nodyn *cyntaf* yn y ban, a'r gweddill yn ddibwys. Yn y ffurf gyfansawdd, yn yr amser *cyffredin,* rhaid iddo ddisgyn ar y cyntaf a'r trydydd; a'r ail a'r pedwarydd yn ddibwys—ac yn yr amser *triphlyg* rhaid iddo ddisgyn ar y cyntaf a'r pedwarydd; a'r ail, trydydd, pummed, a chweched, yn ddibwys: fel hyn,—

* Dylai yr efrydydd ddal sylw neillduol ar hyn, gan ei fod o bwys mawr i'r cyfansoddwr a'r dadgeinydd.

*Amser Cyffredin.*




*Amser Triphlyg.*




Weithiau bydd rhyw air neu eiriau yn y farddoniaeth yn galw ystyriaeth a sylw penodol, heb ei fod yn disgyn ar y pwyslais barddonol: mewn amgylchiad anneillduol felly, gall y cyfansoddwr ddwyn y pwyslais ar y nodyn a fyno—y cyfryw ganiatâd a elwir yn bwyslais *o ystyr.*

*Angraifft.* *




Nid ydym wedi nodi yr holl amrywiadau † a ellir eu gwneyd mewn bannodiad cerddoriaeth, ac ni oddef ein terfynau presenol i ni wneyd hyny; ond hyderwn fod yr egluthâd a roddwyd ar y pwnc yn ddigon i gadw yr efrydydd rhag unrhyw amrywiad afreolaidd.

---

* Gwel y dôn Hyder, gan R. Mills, Athraw Medi, 1836.

† Yr amrywiadau a wnaed ŷnt oll yn eu ffurf syml; ond ymddibyna hyny lawer iawn (fel yn yr angraifft uchod, o R. Mills,) ar chwaeth y cyfansoddwr.

TERFYN YR AIL RAN.

## RHAN III.

## Cynghanedd.

Wrth gynghanedd y meddylir cyd-darawiad dau neu chwaneg o seiniau. Yn ystyr helaethaf y gair, cynwysa y wybodaeth sydd yn egluro cordiau * cerddoriaeth; eu cyfansoddiad, tarddiad, a'u hiawn ddefnyddiad.

Y peth blaenaf † sydd yn angenrheidiol ei wasgu at ystyriaeth yr efrydydd, er deall y pwnc, yw y dull y defnyddir cyfryngau peroriaeth er llunio cynghanedd, yr hyn a eglurwn fel y canlyn—Cymerir gafael mewn rhyw nifer benodol o'r cyfryngau, ac unir hwy â'u gilydd yn un corph—y corph hyny a elwir yn gord. Felly, mewn cynghanedd, yr ydym i olygu pob cyfrwng unigol fel rhan o rhyw gord penodol; yn gyffelyb ag yr ydym yn golygu un o'n haelodau yn rhan o'n corph. Er angraifft—bwriwn ein bod yn cyfansoddi erddygan yn wahanol leisiau, ac yn dwyn i mewn cyfrwng y trydydd, a chyfrwng y chweched; yn awr, nid fel trydydd ar ei ben ei hun, ac nid fel chweched ar ei ben ei hun, y defnyddir y cyfryngau hyn, ond fel rhanau neu gymalau o un cord penodol.

---

* Cord sydd air Cymreig, yn deillio o *côr, (lle crwn; cydgynulliad, &c.,)* ac yn arwyddo yr un peth a'r gair Saesonig *chord*, yr hwn, yn ddiammeu, a ddeilliodd o'n hiaith ni.

† Bwriadwyd rhoddi traethawd arweiniadol i'r rhan yma, ar athrawiaeth sain, &c.; ond wrth weled y gwaith yn chwyddo gymaint, a'r prif faterion eto heb ymdrin â hwy, barnwyd yn fwy addas peidio ymyraeth â'r pwnc dyryslyd hyny, yr hwn nid yw yn hanfodol angenrheidiol er deall cynghanedd, ac a fyddai yn hollol annealladwy i'r efrydydd cyffredin.

Dosparthir cordiau cerddoriaeth yn ddau fath—sef CYDSEINIAID ac ANNGHYDSEINIAID.

Nid oes ond UN BRIF GYDSAIN yn bod, o ba un y deillia y cydseiniaid ereill; ac nid oes ond UN BRIF ANNGHYDSAIN yn bod, o ba un y deillia pob annghydsain arall.

*Pob cord nad yw yn tarddu o* UN O'R DDAU *brif gord yma, rhaid ei fod yn* AFREOLAIDD, *ac heb* WREIDDYN *iddo; gan hyny yn* ANNGHYFREITHLAWN.

Ein gorchwyl gan hyny yn y rhan yma o'r Gramadeg, fydd egluro cyfansoddiad, tarddiad, ac iawn ddefnyddiad pob cord rheolaidd.

---

## PEN. I.

### *Y CYDSEINIAID.*

Tair cydsain y sydd—*y cord cyffredin,*—*y chweched,*—a'r *chweched a'r pedwarydd.*

#### ADRAN I.—Y CORD CYFFREDIN.

Y cord cyffredin a ffurfir o bedair sain; sef o unrhyw nod yn cynwys ei drydydd, ei bummed, a'i wythfed; ac a ddynodir mewn trysawd * weithiau â'r rhifnodau 8 5 3, ond yn fwyaf priodol heb un rhifnod: fel hyn—

*Y cord cyffredin.*



* Sef y drefn o nodi y cordiau â rhifnodau.

Dyma'r undeb mwyaf cydseiniol a ellir ei wneyd â'r holl gyfryngau; gan hyny ystyrir o fel yn perthyn yn hanfodol i'r cyweirnod.

Dyma'r unig gydsain *wreiddiol* sydd yn bod; ac o honi y tardd y cydseiniaid ereill, fel y dangosir yn ol llaw.

Gellir dosparthu y cord cyffredin i ddau fath, sef *lleiaf* a *mwyaf*. Ymddibyna y naill a'r llall ar natur y trydydd. Os bydd y trydydd yn lleiaf, bydd y cord hefyd yn lleiaf; neu os bydd y trydydd yn fwyaf, bydd y cord yr un modd; ond pa un bynag ai mwyaf ai lleiaf a fydd, rhaid i'r pummed fod bob amser yn bummed perffaith: fel hyn,—

*Cord cyff. mwyaf. Cord cyff. lleiaf.*



Nid yw yn wir angenrheidiol i'r cord yma fod yn y ffurf uchod bob amser, sef bod ei seiniau yn drydydd, yn bummed, ac yn wythfed, oddiwrth y nod isaf (sef nod yr isalaw); ond gellir eu cyfleu yn wahanol: fel hyn,—



*Cy*fleud 1. *Cy*f. 2. Cyf. 3.

Y cyflead cyntaf a gynwys nod ei drydydd, ei bummed' a'i wythfed—yr ail gyflead, nod ei bummed, ei wythfed, a'i drydydd—a'r trydydd cyflead, nod ei wythfed, ei drydydd, a'i bummed. *

### DEFNYDDIAD Y CORD CYFFREDIN.

Defnyddir y cord cyffredin ar y cyweirnod, y pummed' a'r pedwarydd.

Defnyddir o ar y cyweirnod, fel ei le hanfodol a chyntefig—ar y pummed, o herwydd y berthynas sy rhwng y cyweirnod a'i bummed—ac ar y pedwarydd, o herwydd y berthynas sy rhwng y pedwarydd a'r wythfed.

Y mae y cord cyffredin ar y cyweirnod a'r pedwarydd, yn fwyaf neu leiaf, yn ol fel y bo y cywair yn llon neu leddf; ond ar y pummed rhaid iddo fod bob amser yn fwyaf, hyd yn nod mewn cywair lleddf.

Dyma y prif gordiau yn mhob erddygan, a'r priod-ddulliau a ffurfir drwy olyniad dau neu chwaneg o honynt, yw gwir sylfaen cynghanedd.

Cynghorem yr efrydydd i drawsgyweirio yr angreifftiau canlynol i'r holl gyweiriau, llon a lleddf.

*Priod-ddulliau cynghaneddol yn C lon.*




* Mewn gwirionedd ffurfir yr ail gyflaed o'r pummed, yr wythfed, a'r degfed—a'r trydydd, o'r wythfed, y degfed, a'r deuddegfed; ond mewn cynghanedd, ni chyfrifir yr wythonau.




*Priod-ddulliau cynghaneddol yn A leddf.*







Y mae y llonnod uwchlaw E * yn yr angreifftiau ar y pummed yn y cywair lleddf, yn dynodi fod *trydydd* y cord i gael ei loni, er gwneyd y cord cyffredin ar bummed y cyweirnod, yn gord mwyaf.

---

* Pan y byddo llonnod, lleddfnod, neu naturiol wrtho ei hun, uwchlaw neu islaw unrbyw nod, y mae yn arwyddo bob amser mewn trysawd y dylid lloni, lleddfu, neu naturioli, trydydd y cord hyny yn yr isalaw.

### YMARFERIADAU AR Y CORD CYFFREDIN.

Er mwyn hyrwyddiant yr efrydydd i ymarfer ei hun i gysylltu a dadgylymu y cord yma, rhoddwn ger ei fron yr ymarferiadau canlynol, wedi eu ffurfio ar y prif a'r unig leoedd y gellir eu defnyddio yn rheolaidd.

## ANGREIFFTIAU.

1



2



Rhoddwyd yr angreifftiau hyn yn unig i'r dyben i'r efrydydd ymarfer ei hun i lanw y gynghanedd; gan hyny cymered ei ysgrifbin yn ei law, llinelled ei bapyr yn barod i nodi pedwar o leisiau, ac ysgrifened yr angreifftiau uchod yn yr isalaw—yna chwaneged, at nodau yr isalaw, y seiniau ereill perthynol i'r cord, sef y trydydd, y pummed, a'r wythfed; wedi hyny cymhared ei waith â'r hyn a ganlyn.

## YR UNRHYW ANGREIFFTIAU, WEDI LLANW Y CORD.

*Cywair C lon.*



*Cywair A leddf.*



**Yr ang**[illegible] yr efrydydd pa fodd i lanw y cord cyffredin ; ond traethir **am ei iaw**[illegible] yn y bennod hon.

### ADRAN. II.—CORD Y CHWECHED.

Cyfansoddir cord y chweched o unrhyw nod, yn cynwys ei drydydd a'i chweched; ac mewn trysawd dynodir o â'r rhifnod 6: fel hyn,—




Ffurfir y cord yma o'r cord cyffredin drwy symud nod yr isalaw i'r trydydd uwchlaw, a chadw nodau ereill y cord hwnw yn yr un sefyllfa. Y cyfnewidiad yma yn y cord cyffredin er ffurfio cord y chweched, a elwir *Gwrthddull cyntaf y cord cyffredin* : fel hyn,—

*Yn y Cywair llon.*




*Yn y Cywair lleddf.*



Ni a welwn yn awr fod cord y chweched yn deilliaw o'r cord cyffredin, ac mai *gwreiddyn* y cord yw y *trydydd islaw nod yr isalaw*, pa un bynag ai yn y cywair llon ai lleddf. Gan fod hyn o bwys i'w ddeall, mynychwn y gosodiad, a dalied yr efrydydd yn neillduol ar hyny; sef mai *gwreiddyn cord y chweched yw* Y TRYDYDD ISLAW; fel hyn,—




DEFNYDDIAD CORD Y CHWECHED.

1. Sefyllfa y cord yma yn yr wythawd yw trydydd y cyweirnod, yn mha gywair bynag y byddo yr erddygan. Ymddengys hyn yn amlwg oddiwrth y gwirionedd mai gwreiddyn y cord yw y trydydd islaw.

2. Pan byddys yn cyfansoddi erddygan i bedwar o leisiau, gellir dybli y trydydd, y chweched, neu chwanegu yr wythfed, fel byddo y gynghanedd yn caniatau.

ADRAN III.—CORD Y CHWECHED A'R PEDWARYDD.

Cyfansoddir cord y chweched a'r pedwarydd, o unrhyw nod yn cynwys ei chweched a'i bedwarydd: ac mewn trysawd dynodir o â'r rhifnodau $^{6}_{4}$: fel hyn,—



Ffurfir y cord yma o'r cord cyffredin drwy symud nod yr isalaw i'r pummed uwchlaw, a chadw nodau ereill y

cord hwnw yn yr un sefyllfa. Y cyfnewidiad yma yn y cord cyffredin, er ffurfio cord y chweched a'r pedwarydd, a elwir *Ail wrthddull y cord cyffredin:* fel hyn,—

*Yn y Cywair llon.*




*Yn y Cywair lleddf.*




Ni a welwn yn awr fod cord y chweched a'r pedwarydd yn deilliaw o'r cord cyffredin, ac mai gwreiddyn y cord yw y *pummed islaw nod yr isalaw,* pa un bynag ai yn y cywair llon ai lleddf. Gan fod y mater yma o bwys, mynychwn y gosodiad yma eto, sef mai *gwreiddyn cord y chweched a'r pedwarydd yw y* PUMMED ISLAW; fel hyn,—



### DEFNYDDIAD CORD Y CHWECHED A'R PEDWARYDD.

1. Sefyllfa y cord yma yn yr wythawd yw pummed y cyweirnod, yn mha gywair bynag y byddo'r erddygan. Ymddengys hyn yn amlwg oddiwrth y gwirionedd mai gwreiddyn y cord yw y pummed islaw.

2. Pan byddys yn cyfansoddi erddygan i bedwar o leisiau, gellir dybli y pedwarydd, y chweched, neu chwanegu yr wythfed.

### YMARFERIADAU AR Y CYDSEINIAID.

*Cywair llon.*




*Cywair lleddf.*




Cymered yr efrydydd ei ysgrif bin, ac ysgrifened yr ymarferiadau uchod, a chwaneged y cyf-rJngau perthynol i bob cord. yna cymhared ei waith â'r hyn a ganlyn.

---

*Llinell gwedi ei thynu fel yn yr angraifft uchod, (6 —) a arwydda fod y cord canlynol o'r un natur a'r cord blaenorol.

# PENNOD II.

## *YR ANNGHYDSEINIAID.*

Gellir dosparthu yr annghydseiniaid i ddau fath, sef *Cynrywiol* a *Thrwyddedol.*

### AM YR ANNGHYDSEINIAID CYNRYWIOL.

Pum annghydsain cynrywiol sydd—*y seithfed, y chwe phump, y pedwar tri, y pedwar dau, a'r saith pedwar dau.*

### ADRAN I.— CORD Y SEITHFED.

Cord y seithfed a ffurfir o bedair sain; sef o unrhyw nod yn cynwys ei drydydd, ei bummed, a'i seithfed, at ba rai y gellir chwanegu yr wythfed: ac a ddynodir mewn trysawd â'r rhifnod 7: fel hyn,—

Cord y seithfed.




Deillia cord y seithfed o'r cord cyffredin, drwy chwanegu cyfrwng y seithfed at y cord hwnw.

Dyma yr unig annghydsain *wreiddiol* sydd yn bod; ac o honi hi y tardda yr annghydseiniaid ereill, yr un fel ag y tardd y cydseiniaid o'r cord cyffredin.

Nid yw yn hanfodol i'r cord yma chwaith fod yn y ffurf uchod bob amser, sef bod ei seiniau yn unsain, yn drydydd, yn bummed, ac yn seithfed, oddiwrth nod yr isalaw; ond gellir eu cyfleu yn wahanol: fel hyn,—

*Cord y seithfed yn ei wahanol gyfleadau.*




Y cyflead cyntaf a gynwys nod ei unsain, ei drydydd, ei bummed, a'i seithfed—yr ail, nod ei drydydd, ei bummed, ei seithfed, a'i wythfed— y trydydd, nod ei bummed, ei seithfed,ei wythfed, a'i drydydd—a'r pedwarydd, nod ei seithfed, ei wythfed, ei drydydd, a'i bummed.

DEFNYDDIAD CORD Y SEITHFED.

1 Defnyddir y cord yma ar bummed y cyweirnod.

Sylfaenir y defnyddiad yma ar y rheswm yma—o un tu, ni oddef y cyweirnod ddefnyddiad unrhyw annghydsain—ac o'r tu arall, dylai chwanegiad cyfrwng annghydseiniol, er ffurfio annghydsain wreiddiol, gael ei wneyd ar y radd agosaf ei pherthynas i'r cyweirnod—y radd hyny yw pummed y cyweirnod.

2 Wrth gyfansoddi erddygan i bedwar o leisiau, (neu islaw), nis gellir dwyn i mewn yr holl seiniau uchod; ond gadewir allan, weithiau yr wythfed, bryd arall y pummed, ac mewn rhai amgylchiadau y naill a'r llall; ond rhaid i'r seithfed a'r trydydd fod bob amser; fel hyn,--



***Ymarferiad ar cord y seithfed.***




***Yr unrhyw wedi ei lanw.***



### ADRAN II—Y CORD CHWE PHUMP.

Y cord chwe phump a ffurfir o bedair sain; sef o un-rhyw nod yn cynwys ei drydydd, ei bummed, a'i chweched, ac a ddynodir mewn trysawd â'r rhifnodau $\frac{6}{5}$: fel hyn,—




Deillia y cord yma o gord y seithfed drwy dderchafu nod yr isalaw i'r trydydd uwchlaw ei sefyllfa wreiddiol, a chadw nodau ereill y cord yn yr un lle. Y cyfnewidiad yma yn nghord y seithfed, a elwir *Gwrthddull cyntaf cord y seithfed*: fel hyn,—




Yn ngwyneb yr eglurhâd yma ar darddiad y cord chwe phump, ymddengys yn amlwg mai gwreiddyn y cord yw y trydydd islaw: fel hyn,—




Defnyddir y cord yma ar seithfed y cyweirnod fel y lle priodol ac hanfodol iddo.

### ADRAN III.—Y CORD PEDWAR TRI.

Y cord pedwar tri a ffurfir o bedair sain, sef o unrhyw nod yn cynwys ei drydydd, ei bedwarydd, a'i chweched: ac a ddynodir mewn trysawd â'r rhifnodau $^{4}_{3}$: fel hyn,—




Deillia y cord yma o gord y seithfed trwy dderchafu nod yr isalaw i'r pummed uwchlaw, a chadw y nodau ereill yn yr un fan: y cyfnewidiad yma yn nghord y seithfed a elwir *Ail wrthddull cord y seithfed*: fel hyn,



Ymddengys oddiwrth yr eglurhâd yma eto fod y cord pedwar tri yn deilliaw o gord y seithfed, ac mai gwreiddyn y cord pedwar tri yw y pummed islaw nod yr isalaw: fel hyn,—




Defnyddir y cord yma ar eilfed y cyweirnod.

ADRAN IV.—Y CORD PEDWAR DAU.

Y cord yma a ffurfir o bedair sain: sef o unrhyw nod yn cynwys ei eilfed, ei bedwarydd, a'i chweched; ac a ddynodir mewn trysawd â'r rhifnodau $\frac{4}{2}$: fel hyn,—




Deillia y cord yma o gord y seithfed, drwy dderchafu nod yr isalaw i'r seithfed uwchlaw, a chadw y nodau ereill yn yr un lle: y cyfnewidiad yma yn nghord y seithfed, a elwir *Trydydd gwrthddull cord y seithfed*: fel hyn,—




Ymddengys oddiyma eto fod y cord pedwar dau yn deilliaw o gord y seithfed; ac mai gwreiddyn cord y pedwar dau yw y seithfed islaw nod yr isalaw: fel hyn,




Defnyddir y cord yma ar bedwarydd y cyweirnod.

ADRAN V.— Y CORD SAITH PEDWAR DAU.

Y cord yma a ffurfir o bedair sain, sef o unrhyw nod yn cynwys ei eilfed, ei bedwarydd, a'i seithfed; ac a nodir mewn trysawd â'r rhifnodau $\begin{smallmatrix}7\\4\\2\end{smallmatrix}$: fel hyn,—



Y mae y cord yma yn deilliaw o gord y seithfed, drwy symud nod yr isalaw i'r radd nesaf uwchlaw, a chadw y nodau ereill yn eu lle: fel hyn,—




Wrth hyn ymddengys yn naturiol fod y cord yma yn cael ei ffurfio trwy bedwarydd wrthddull cord y seithfed, pan y mae yr isalaw yn dyfod i nawfed y gwreiddyn; fel hyn,




Ymddengys hefyd fod y chweched yn perthyn i'r cord, ond mewn defnyddiad gadewir y chweched allan. *

---

* Mae'n debyg yr ymddengys yr eglurhâd uchod a roddwyd ar y cord saith pedwar dau yn ddyeithr i'r efrydydd cyfarwydd. Y mae'n ddigon hysbys y dygir angreifftiau gan awduron o ddefnyddiad $\begin{smallmatrix}7\\4\\2\end{smallmatrix}$, ac mewn cynghaneddion gorsafol (*pedal harmonies*) ceir $\begin{smallmatrix}7\\4\\6\\2\end{smallmatrix}$; ond dyl-

Defnyddir y cord saith pêdwar dau ar chweched y cyweirnod.

Wele ni yn awr wedi gosod o flaen yr efrydydd *sylfaen cynghanedd*—wedi egluro y ddau brif gord, y GYDSAIN GYFFREDIN, ac ANNGHYDSAIN Y SEITHFED—deilliad, neu darddiad y cydseiniaid a'r annghydseiniaid ereill o honynt.

Nid oes, ac nid ellir cael yr un gydsain ond a eglurwyd: ac nid oes, ac nid ellir cael yr un annghydsain a gwreiddyn iddi ond a eglurwyd * — pob annghydsain arall a ddygir i mewn yn unig trwy drwydded, fel yr eglurir yn ol llaw.

---

id ystyried mai trwyddedol ydynt, ac nid cynrywiol. Cawn $\begin{smallmatrix}9\\7\end{smallmatrix}$ mewn arferiad mor foreu a *Carissimi*, ond nid fel cord cynrywiol, eithr fel cydbwysol ar $\begin{smallmatrix}8\\6\end{smallmatrix}$: a defnyddir $\begin{smallmatrix}7\\4\\2\end{smallmatrix}$ yn fynych yn gydbwysol ar $\begin{smallmatrix}8\\5\\3\end{smallmatrix}$. Y mae yn wir y gellir cael y rhai hyn, ac ychwaneg, (fel y dangosir eto,) fel annghydseiniaid cydbwysol; ond y mae gwahaniaeth rhwng hyny a bod yn gynrywiol. Dywed *Mr. Corfe* fod y cord yma yn deilliaw o seithfed y cyweirnod, ond nid yw yn dangos pa fodd y gall hyny fod. Ymddengys nad yw yn hollol benderfynol am ei natur; canys ni wahaniaetha yn ei angreifftiau rhwng y cynrywiol a chydbwysol; ond defnyddia y cydbwysol yn angraifft o'r cord.

Y gwir yw, nid oes neb o'r awduron a'r a wyddom am danynt, yn canfod gwreiddyn y cord.

---

* Gwyddom yn dda ein bod wrth adael allan rhai

Yr athrawiaeth yma a'n harweinia yn naturiol ac angenrheidiol i olygu, fod i bob un o nodau yr wythawd ei gord priodol ei hun.

Y priodoledd yma a eglurir yn mhellach drwy yr angreifftiau canlynol yn y ddau gywair, y rhai a ddangosant yr holl gordiau cynrywiol yn eu ffurf syml, fel y maent yn perthyn i nodau yr wythawd.

---

cordiau, ac wrth ddefnyddio y rhai a nodir yn y lleoedd penodedig, yn gwrthwynebu awduron ereill; ond nid yw hyny o gymaint pwys, gan ein bod yn gweithredu yn gyson â'n gosodiadau cynaf, y rhai a gymeradwyir gan bob cerddor gwybodus drwy y byd. Cydnabyddir o amser *Rameau* (ac yn gynt, medd *Dr. Burney*), fod gwreiddyn i bob cord; a dyma yr egwyddor sydd wedi enwogi awduron diweddar ar gynghanedd yn fwy nâ'r henafiaid. Ond rhaid addef fod canlyn yr awduron hyny yn nefnyddiad y cordiau, nad oeddent wedi ystyried yr egwyddor hon, wedi arwain y byd cerddorol i ddyrysweh ac annghysonderau; ac hyd yn hyn, y mae pob cenedl a'r a wyddom am dani, yn aros i raddau yn yr astrusi. Ond yn y Gramadeg hwn ymdrechir cadw yr efrydydd rhag yr anialwch. Gosodir y sylfaen i lawr yn mlaenaf, ac yna adeiledir wrth yr egwyddor hon.

*Cywair llon.—C naturiol.*




*Cywair lleddf.—A naturiol.*




Trawsddoded yr efrydydd yr angreifftiau hyn i'r holl gyweirnodau.

* Gellir amrywio yr angreifftiau uchod trwy ddwyn y cord cyffredin i mewn ar bedwarydd a phummed y cyweirnod.

Y CYDSEINIAID A'R ANNGHYDSEINIAID CYNRYWIOL YN CAEL EU HEGLURO AR UN OLWG.

Dywedwyd o'r blaen nad oedd ond *un gydsain* ac *un annghydsain* WREIDDIOL yn bod; a bod y cydseiniaid ac annghydseiniaid ereill yn deilliaw o'r ddwy hyn drwy *wrthddull* *. Yn yr angreifftiau canlynol fe wel yr efrydydd yr athrawiaeth ar un olwg.

*Y Cydseiniaid,*




*Yr Annghydseiniaid.*




AM YR ANNGHYDSEINIAID TRWYDDEDOL.

Yr annghydseiniaid trwyddedol yw y rhai hyny nad ydynt yn cael eu ffurfio o wreiddiau mor benodol a'r rhai

---

* Sef symudiad nod yr isalaw i'r trydydd uwchlaw, a thrwy hyny yn peri i'r trydydd hwnw fod yn nod isaf y cord.

cynrywiol; ond a ddygir i mewn drwy ddulliau ereill, ac i ddybenion neillduol.

Gellir dosparthu yr annghydseiniaid trwyddedol i ddau fath; sef, *cydbwysol* ac *addurnol.*

ADRAN I.—YR ANNGHYDSEINIAID CYDBWYSOL.

Annghydsain gydbwysol yw hôno a ffurfir drwy barhau un o nodau rhyw gord penodol, a'i chwareu fel rhan o'r cord dyfodol, ac attal dros ychydig i'r nod perthynol i'r ail gord ddyfod i mewn. Eglurir hyn yn oraf drwy angraifft; fel hyn,—




Yn yr angraifft hon ni a welwn (wrth A) y priod-ddull cynghaneddol yn ei ffurf syml—wedi hyny (wrth B) dygir i mewn annghydsain cydbwysol y nawfed, drwy barhau G o'r cord blaenorol hyd yr ail gord; a thrwy hyny attal dros ychydig ymddangosiad yr Ff: yna y mae adferiad yr annghydsain yn cymeryd lle, drwy ddisgyn yn naturiol o G i Ff.

Y cyfryngau a ddefnyddir i gydbwyso yn fwyaf cyffredin yw y pedwarydd, y seithfed, a'r nawfed (sef yr eilfed wythawd uwchlaw y gwreiddyn).

Y mae y pedwarydd yn cydbwyso i'r trydydd—y seithfed i'r chweched—a'r nawfed i'r wythfed,—(neu eilfed i'r unsain).

DEFNYDDIAD Y CYDBWYSIAD.

1. Gall y cydbwysiad gymeryd lle mewn un o'r lleisiau uchaf. Yn y ffurf hyny gelwir o yn gydbwysiad unigol; fel hyn,—




2. Gall y cydbwysiad gymeryd lle mewn dau, ac mewn rhai amgylchiadau mewn tri, o leisiau; fel hyn,—



Mewn rhai amgylchiadau defnyddir y pummed a'r chweched i gydbwyso y naill y llall, fel yn yr angraifft flaenorol.

3. Gall y cydbwysiad gymeryd lle yn yr isalaw: fel hyn,—

Yn gyffredin y mae y nod cydbwysol yn pwyso yn wahanol yn yr isalaw rhagor ydyw yn y lleisiau ereill, fel yn yr angraifft uchod—yr ail i'r trydydd—a'r pedwarydd i'r pummed.

### ADRAN II.—ANNGHDSEINIAID ADDURNOL

Annghydsain addurnol yw hòno nad yw yn perthyn yn hanfodol i'r gynghanedd, ond a ddygir mewn yn unig er mwyn addurno y beroriaeth, ac i lanw y neidiadau, megys y trydydd a'r pedwarydd, &c., mewn un neu chwaneg o leisiau. Gadewch i ni dybied fod G yn nod hanfodol mewn rhyw gord: gellir ei addurno â Ff naturiol, Ff lon, A naturiol, neu A leddf, fel bo yr amgylchiad yn gofyn.

## ANGREIFFTIAU.




**Defnyddiad yr Annghydseiniaid Addurnol**

1. Gellir eu hysgrifenu yn nodau cyffredin, neu yn ogwyddon.
2. Gellir eu dwyn i mewn ar y nodau pwysleisiol yn y ban, neu y rhai dibwys. Yn
3. Gellir eu defnyddio yn y llais a fynis o'r erddygan.

## ANGREIFFTIAU O ANNGHYDSEINIAID ADDURNOL.

*Y Gynghanedd yn ei ffurf syml.*




*Yr unrhyw wedi ei addurno.*



### Parotoad, Tarawiad, ac Adferiad yr Annghydseiniaid.

Yn y bennod o'r baen buom yn traethu ar ffurfiad a tharddiad yr annghydseiniaid—yn y bennod hon ein gorchwyl fydd egluro *parotoad, tarawiad,* ac *adferiad* yr annghydseiniaid. *

1. Wrth barotoad annghydsain y meddylir, bod y sain hyny sydd yn ffurfio yr annghydsain yn y cord presenol, yn cael ei ddefnyddio yn y cord blaenorol: hyny yw, rhaid i'r nod sydd yn cynwys yr annghydsain yn y cord presenol gael ei glywed yn y cord blaenorol. Os bydd annghydsain yn dygwydd yn y cord blaenorol, nis gellir defnyddio y nod a fyddo yn ffurfio y gyfryw annghydsain yn barotoadol i annghydsain ddyfodol.

2. Wrth darawiad annghydsain y meddylir, ei dygiad i mewn i'r cord presenol.

3. Wrth adferiad annghydsain y meddylir, arweiniad y nod hyny fyddo yn ffurfio yr annghydsain bresenol i fod yn gyfrwng cydseiniol yn y cord dyfodol: hyny yw, ar ol tarawiad unrhyw annghydsain, rhaid i'r nod hyny oedd yn ffurfio yr annghydsain gael ei ddwyn i mewn yn y cord dyfodol yn gydseiniol â gwreiddyn y cord.

### Cord y Seithfed.

Yn y cord yma, nod y seithfed sydd yn ffurfio yr annghydsain; gan hyny yn y parotoad, rhaid i'r nod hwnw gael ei glywed; ac yn yr adferiad, rhaid iddo ddisgyn un radd: fel hyn,—

---

* Nid oes a fyno hyn ond â'r annghydseiniaid cynrywiol yn unig.




Wrth yr angraifft yma ni a welwn y nod annghyd-seiniol Ff yn cael ei barotoi yn y cord blaenorol ar wythfed y cord; ac ar ol tarawiad, yn adferyd drwy ddisgyn i E, trydydd y cord cyffredin.

Y CORD CHWE PHUMP.

Yn y cord yma nod y pummed sydd yn ffurfio yr annghydsain; gan hyny yn y parotoad, rhaid i'r nod hwnw gael ei glywed; ac yn yr adferiad, rhaid iddo ddisgyn un radd: fel hyn,—




Wrth yr angraifft yma ni a welwn y nod annghyd-seiniol Ff yn cael ei barotoi yn y cord blaenorol ar drydydd y cord; ac ar ol tarawiad, yn adferyd drwy ddisgyn i E, trydydd y cord cyffredin.

Y CORD PEDWAR TRI.

Yn y cord yma y trydydd sydd yn ffurfio yr annghyd-sain; gan hyny, yn y parotoad, rhaid i'r nod hwnw

gael ei glywed; ac yn yr adferiad, rhaid iddo ddisgyn un radd: fel hyn,—




Wrth yr angraifft yma ni a welwn y nod annghydseiniol Ff yn cael ei barotoi yn y cord blaenorol ar wythfed y cord; ac ar ol tarawiad, yn adferyd drwy ddisgyn i E, trydydd y cord cyffredin.

Y CORD PEDWAR DAU.

Yn y cord yma nod yr isalaw sydd yn ffurfio yr annghydsain; gan hyny, yn y parotoad, rhaid i'r nod hwnw gael ei glywed; ac yn yr adferiad, rhaid iddo ddisgyn un radd: fel hyn,—




Wrth yr angraifft yma ni a welwn y nod annghydseiniol Ff (yn yr isalaw) yn cael ei barotoi yn y cord blaenorol ar Ff; ac ar ol tarawiad, yn adferyd drwy ddisgyn i E.

Y CORD SAITH, PEDWAR, DAU.

Yn y cord yma y mae dau nod annghydseiniol, yr ail a'r seithfed; gan hyny, yn y parotoad, rhaid iddynt gael eu clywed, ac yn yr adferiad, rhaid iddynt ddisgyn un radd bob un: fel hyn,—




Wrth yr angraifft yma eto, ni a welwn y nodau annghydseiniol G a B yn cael eu parotoi yn y cord blaenorol; ac ar ol tarawiad, yn adferyd drwy ddisgyn i Ff ac A.

Y mae yr angreifftiau hyn wedi eu ffurfio i egluro y pwnc yn y dull mwyaf syml a naturiol; nid yn unig i egluro symudiad y nodau annghydseiniol, ond hefyd y cydleisiau; gan hyny dalied yr efrydydd ar ysgogiad yr holl leisiau.

---

## PEN. IV.

### *DIWEDDEBAU.*

Wrth ddiweddeb y meddylir terfyniad cyflawn ar ddosran neu eilewig cerddorol.

Gallwn ddosparthu y diweddebau i ddau ryw — yn gyntaf y rhai sydd yn terfynu ar bummed y cyweirnod; ac, yn ail, y rhai sydd yn terfynu ar y cyweirnod ei hun.

ADRAN I.—DIWEDDEBAU AR BUMMED Y CYWEIRNOD.

1. Gall y diweddeb ar bummed y cyweirnod gael ei ddechreu ar y seithfed yn ei gord priodol—ei ganlyn â'r

cyweirnod—a therfynu ar y pummed yn y cord cyffredin: fel hyn,—

*Yn C lon.*



*Yn A leddf.*



2. Gall ddechreu ar bedwarydd y cyweirnod yn y cord cyffredin; a diweddu ar y pummed yn y cord cyffredin; fel hyn,—

*Yn C lon.*



*Yn A leddf.*



Gan nad ellir defnyddio y diweddebau hyn i derfynu unrhyw erddygan, gellir eu galw yn rhai anmherffaith.

ADRAN II.—DIWEDDEBAU AR Y CYWEIRNOD.

1. Gall y diweddeb ar y cyweirnod gael ei ddechreu ar bummed y cyweirnod yn y cord chwe pedwar — ei ganlyn ar y pummed efo cord y seithfed—a therfynu yn y cyweirnod : fel hyn,—

*Yn C lon.*




*Yn A leddf.*




2. Gall ddechreu ar bedwarydd y cyweirnod yn y cord cyffredin—ei ganlyn â'r pummed yn y cord cyffredin—a therfynu yn y cyweirnod: fel hyn,—

*Yn C lon.*



*Yn A leddf.*



Dyma yr unig * ddiweddebau a ymddengys i ni yn rheolaidd a naturiol, ac yn fwyaf addas i symlrwydd cerddoriaeth eglwysig; ond gellir amrywio y cordiau a'r dull o'u dwyn i mewn yn ol chwaeth y cyfansoddwr, megys dwyn cord y seithfed i mewn ar y pummed, yn yr ail angraifft.

## PEN. V.

### *TRAWSGYWEIRIANT.*

Yn yr ail ran o'r Gramadeg dodasom ger bron yr efrydydd eglurhâd helaeth ar y drefn o drawsgyweirio, mewn cysylltiad â pheroriaeth—yn awr yr ydym yn dyfod i draethu ar y pwnc yn ei berthynas â chynghanedd.

Ond cyn myned yn mhellach, cymerwn y cyfleusdra hyn i roddi ar ddeall yn mhellach i'r efrydydd yr effaith benodol sy gan y naturiol mewn trawsgyweiriant.

Dangosasom o'r blaen ¶ mai yr unig drefn sydd i ddychwelyd o unrhyw gyweirnod newydd i'r cyweirnod cyntefig, yw trwy effaith y naturiol; ac oddiwrth yr eglurhâd a roddwyd, gallasai yr efrydydd gasglu yn rhesymol fod gan y naturiol yr un effaith ar y llonnodau a'r lleddfnodau a ddefnyddir i drawsddodi, ag sydd ar y

* Gwyddom yn dda fod mwy o ddiweddebau nâ'r rhai uchod yn cael eu defnyddio gan genedlaethau estronol; a gwyddom mor dda hefyd nad ydynt yn sylfaenedig ar natur—yn addas i gerddoriaeth eglwysig—nac yn foddhaol i'r chwaethGymreig.

¶ Tudal. 86.

llonnodau a'r lleddfnodau a ddefnyddir i drawsgyweirio; ond rhag y gall ddianc yn ddifeddwl, eglurwn hyny yn bresenol.

Bwriwn ein bod yn cyfansoddi erddygan yn G lon gydag un llonnod, a bod yn angenrheidiol trawsgyweirio i C lon ei phedwarydd. Yn awr, y drefn o gyrhaedd y cyfryw gyweirnod, fyddai rhoddi naturiol ar Ff, i dynu ymaith effaith y llonnod: fel hyn,—



Yr un modd hefyd y gellir dychwelyd o Ff lon gydag un lleddfnod, i C lon ei phummed: fel hyn,—



Perthyna y sylwadau hyn hefyd i'r cywair lleddf.

Ysgrifened yr efrydydd yr angreifftiau hyn yn yr holl gyweirnodau.

Yn awr crybwyllwn yr hyn sydd yn angenrheidiol ei wneyd yn y gynghanedd wrth ddwyn i mewn unrhyw drawsgyweiriad.

1. Pa bryd bynag yr effeithir trawsgyweiriad yn y beroriaeth, rhaid i'r unrhyw hefyd gymeryd lle yn y gynghanedd— arweinir yr holl gyfansoddiad yn nghyd, drwy chwareu y seiniau hanfodol i'r cyweirnod newydd yn y beroriaeth, a defnyddio y cordiau priodol yn y gynghanedd.

2. Gellir cynyrchu y nod arweiniol yn rhyw un o'r lleisiau uchaf; neu yn yr isalaw; neu ynte yn mhob un o'r ddau: fel hyn,—




Dygir y trawsgyweiriad i mewn yn gyffredin ar gord y seithfed: fel hyn,—




Ond gellir ei wneyd ar rhyw un o'r annghydseiniaid yn rywiol, megys ar y cerd chwe phump: fel hyn,—



Heblaw y trawsgyweiriadau a eglurwyd yn y rhan ar beroriaeth, i ba rai y perthyna yr angreifftiau cynghaneddol uchod, cymerwn y cyfleusdra presenol i grybwyll un math arall a effeithir yn fwyaf uniongyrchol mewn cynghanedd ; sef trawsgyweiriad disymwth.

Trawsgyweiriad disymwth yw y cyfnewidiad o'r cywair llon i'r cywair lleddf, neu o'r cywair lleddf i'r cywair llon, ar yr un cyweirnod; megys o C lon naturiol i C leddf; neu o A leddf naturiol i A lon : fel hyn,—




Yn yr angraifft gyntaf ni a welwn y trawsgyweiriad disymwth yn cymeryd lle, trwy ddefnyddio y lleddfnod i gyfnewid y trydydd mwyaf (C E) yn drydydd lleiaf; a thrwy hyny yn troi y cywair o fod yn llon i fod yn lleddf.

Yn yr ail angraifft y mae y trawsgyweiriad yn cymeryd lle pan y mae y llonnod yn cyfnewid y trydydd lleiaf (A C) yn drydydd mwyaf; a thrwy hyny yn troi y cywair o fod yn lleddf i fod yn llon.

Nid ellir defnyddio y trawsgyweiriadau hyn ond mewn amgylchiadau neillduol.

# PEN. VI.—*AMRYWION.*

## ADRAN I.—Y CORDIAU GWREIDDIOL A CHYNRYWIOL.

Yn y raddfa ganlynol, gosodwn eto ger bron yr efrydydd y cord perthynol i bob gradd, heb y rhifnodau, yn nghyda tharddiad pob cord.

*Cywair llon—C naturiol.*

Yr isalaw cynrywiol.




Yr isalaw gwreiddiol.



Ei gord ei hun. Cord G gyda'i 7fed. Cord C. Cord G gyda'i 7fed. Ei gord ei hun. Cord C.






Ei gord ei hun. Cord ei hun gyda'i 7fed. Cord G gyda'i 7fed. Cord G gyda'i 7fed. Ei gord ei hun.

*Cywair lleddf—A naturiol.*

Yr isalaw cynrywiol. neu

Yr isalaw gwreiddiol.

Ei gord ei hun. Cord E gyda'i 7fed. Cord A. Cord E gyda'i 7fed. Ei gord ei hun. Cord A.

neu neu

Cord ei hun. Cord ei hun gyda'i 7fed. Cord E gyda'i 7fed. Cord E gyda'i 7fed. Ei gord ei hun.

Yr un fel wrth ddisgyn.

Ysgrifened yr efrydydd y graddfäau hyn ar bob un o nodau yr wythawd.

**ADRAN II.—AIL ADRODDIAD O DARDDIAD YR HOLL GORDIAU.**

*Y Cord cyffredin.*




*Cord y Seithfed.*




*Yr Annghydseiniaid cydbwysol.*




Yn yr angreifftiau hyn, rhifnodwyd yr holl gyfryngau, er mwyn cyfarwyddiad pellach yr efrydydd.

ADRAN III.— TRYSAWD.

Trysawd, fel y crybwyllwyd, yw y drefn o ddynodi y cordiau â rhifnodau.

Llawer dull * a ddefnyddiwyd i'w nodi, gan wahanol awduron, o wahanol genedlaethau ; ond tybiwyf mai y un isod yw y mwyaf naturiol a chyfundraethol.

| *Y Cord.* | *Ei wreiddyn.* | *Rhifnodiad.* |
|---|---|---|
| Y cord cyffredin | Gwreiddiol | |
| Cord y chweched | Y trydydd islaw | 6 |
| Cord y chwe pedwar | Y pummed islaw | 6 4 |
| Cord y seithfed | Y seithfed at y cord cyffredin | 7 |
| Y cord chwe phump | Y trydydd islaw | 6 5 |
| Y cord pedwar tri | Y pummed islaw | 4 3 |
| Y cord pedwar dau | Y seithfed islaw | 4 2 |
| Y cord saith pedwar dau | Y nawfed islaw | 7 4 2 |

Y cordiau cydbwysol a nodir fel yn yr ail adran.

Os bydd y trydydd, mewn rhyw gord, â llonnod lleddfnod, neu naturiol, yn perthyn iddo yn yr erddygan, ysgrifener y cyfryw lonnod, lleddfnod, neu naturiol, islaw y cord, heb y rhifnod ei hun.

Ond os bydd rhyw gyfrwng arall o'r cord â llonnod lleddfnod, neu naturiol, yn perthyn iddo, ysgrifener y rhifnod ar ol y cyfryw.

Os bydd cyfrwng, neu gyfryngau rhyw gord yn para hyd y cord nesaf, dynodir hyny trwy dynu llinell : fel hyn, ————

Byddai yn dda i'r holl gerddorion ddefnyddio yr un dull, rhag dyryswch.

* Gwel y Geirlyfr, dan y gair Trysawd.

TERFYN RHAN Y DRYDEDD.

# RHAN IV.
# Cyfansoddiant.

## RHAGDRAETH.

### NATUR AC ELFENAU CERDDORIAETH.

Gwyddom yn dda fod y testun sydd i fod dan ein sylw presenol, yn teilyngu y medrusrwydd a'r gallu uwchaf i'w egluro a'i gymhwyso mewn dull priodol ac effeithiol, y cyfryw allu a'r nad yw awdwr y llinellau hyn yn feddiannol arno. Y mae y testun ynddo ei hun yn ddyrys. Ond chwanegir at yr anhawsder (yn neillduol yn ei berthynas â *Chymry* a *Chymraeg*), trwy ein bod mor amddifad o gynorthwy awduron ereill: nid oes, a'r a wyddom ni, yr un awdwr wedi ysgrifenu erioed ar y pwnc. Mwy dymunol o lawer fuasai genym rodio ar hyd llwybr profedig, ac ymdrechu arwain y darllenydd i syllu ar olygfeydd newyddion, a denu ei serch â gogoniant y wlad: ond nid felly y mae. Y gorchwyl blin o wneyd y ffordd sy genym, heb hamdden nac amser i arwain nemawr ar yr efrydydd i weled rhagoriaethau y tir y mae yn sefyll arno. Eto gorchwyl sydd raid ei wneyd ydyw, er anhawdded ei gyflawni, ac er gwaeled y cyneddfau sydd yn ei gymeryd mewn llaw. Gadawwyd o yn rhy hir heb ei gychwyn—y mae yn llawn bryd ymosod ar y gwaith. Ac hyderwn y bydd ein llafur gwan gyda'r gorchwyl yma, o'r hyn lleiaf, yn foddion i symbylu rhai mwy galluog i gymeryd gafael yn y gorchwyl, ac i'w ddwyn i fwy o effeithiolrwydd.

Tuag at roddi golygiad trefnus ar ein pwnc, dosparthwn o yn dair rhan.—I. *Cerddoriaeth.* II. Cerddoriaeth *Eglwysig*. Ac, III. Cerddoriaeth Eglwysig *Gymreig*.

Cynwysa y dosparthiad yma gymaint ag sydd yn angenrheidiol ei wybod neu ddeall.

ADRAN I.—CERDDORIAETH.

Un o'r pethau blaenaf sydd yn taro y meddwl ymchwilgar mewn cysylltiad â cherddoriaeth, fel gwybodaethau ereill yn gyffredin, yw, pa fodd y daeth i fod, pwy a'i cenedlodd ar y cyntaf, a pha fodd yr ymddygwyd tuag ati yn ystod ei mabandod: cwestiwn, mae yn wir, pe'i gofynid mewn cysylltiad â llawer o'r gwyddoregau a'r celfyddydau, a orphwysai yn anatebadwy. Er i'r hanesydd chwilio cofadeiladau a choflyfrau yr hen oesoedd,—ac i'r amseronydd manwl olrhain cyfnewidiadau y dyddiau gynt, ofer a fyddai eu hymdrechion, gwrthddrych eu hymgais a orweddai mewn tywyllwch Aiphtaidd. Ac er fod yn anhawdd, ïe, yn annichonadwy, olrhain yn drwyadl a phenderfynol, holl hanes cerddoriaeth, o'i dygiad cyntaf i fod hyd y dyddiau presenol; ac er fod llawer o'i gorchestion mygedawl wedi eu claddu mewn tywyllwch Sacsonaidd, eto, nid yw hyny yn rhwystr anorfod i ni ddeall ei dechread, na gwybod pa fodd y daeth gyntaf i'r orsedd. Ffaith anwadadwy ydyw, fod y byd yn gyffredin dan ei llywodraeth, a holl dylwythau y ddaear yn ddeiliaid iddi —o'r brenin coronog ar ei orsedd, hyd y bwthynwr tlawd, neu y cardotyn llwm; ac o'r person mwyaf diwylliedig, hyd at yr anwarddyn penaf.

Os gwir y darluniad yma (fel y mae yn ddios mai ê), dygir ni o angenrheidrwydd at y pwynt, pa fodd y mae ganddi y fath ddylanwad ar y natur ddynol? I'r hyn nid oes genym ond ateb, mai merch natur ei hun ydyw. Nid trwy rym celfyddyd na dyfais ei dygwyd i fod; ond trwy ganlyn y teimladau mynwesol yn eu cysylltiad âg anian allanol. Amlwg yw, fod natur wedi sefydlu

perthynas agos rhwng ysgogiadau y meddwl a'r synwyr o glywed. Y mae gan bob un o'r synwyrau corphorol ei swydd a'i waith penodol; a hyny nid yn ei berthynas unigol â'r corph, ond yn ei gysylltiad â'r cyfansoddiad fel y cyfryw. Y mae y golwg (er engraifft) yn dwyn cysylltiad mwy uniongyrchol â'r deall nag yr un arall; canys trwyddo ef, a thrwy ddansoddiadau oddiwrth y delweddau a ddengys, y derbyniasom y rhan fwyaf o'n syniadau a'n drychfeddyliau. Ond y mae y glust yn fwy cysylltedig â'r teimladau. Ac y mae i'r teimladau hyn eu gwahanol seiniau, y rhai a adnabyddir ac a deimlir gan ddynolryw yn gyffredinol. Dyma wirionedd a brofir yn barhaus yn y byd. Mewn ymddyddanion cyffredin, os bydd heddwch, tangnefedd, a chydundeb yn teyrnasu, defnyddir seiniau llyfn a thyner gan y cymdeithion. Felly hefyd y mae i ofn, llawenydd, galar, digofaint, yn nghyda phob teimlad yn y fynwes ddynol, eu gwahanol seiniau yn cael eu hamlygu yn ymddyddanion a chyfeillach dynion yn gyffredin, a hyny yn unig trwy rinwedd cynhyrfiad naturiol. Y mae dyn yn dyfod i ganfod hyn yn fuan, a'r wers y mae yn ei dysgu oddiwrth hyny, ydyw, hwyhau y seiniau yma i'r dyben o barhau rhyw nwyd neu deimlad. O hyn hefyd y deilliodd y gallu o gynhyrfu a dyrchafu yr un teimladau yn ereill; trwy ddefnyddio y cyfryw seiniau, hyd yn nod pan na byddai y teimladau a'u cynyrchodd ar y cyntaf yn bodoli. Ar yr egwyddor hon y cynghorir yr areithiwr ieuanc i ddal sylw ar y gwahanol ddulliau a seiniau a ddefnyddir mewn ymddyddanion amryfal, pan bo y siaredwyr tan ddylanwad rhyw nwyd benodol, er mwyn iddo ddysgu trwy'r amgylchiad, i roddi bywyd a theimlad yn ei araethiau. Y mae yn wir nad yw y seiniau eto yn addas i'w galw yn gerddoriaeth, ond dyma yr egin.

Elfen arall mewn cerddoriaeth, ac yn deilliaw o egwyddor blanedig yn y natur ddynol, sydd yn ymuno yn fuan â seiniau, ydyw mydyr. Trwy ba foddion y daeth i ymarferiad—pa un ai ei ddefnyddio i alluogi amryw i ganu y seiniau ar yr un pryd—ai ysbryd trefn ac iawn ddosparthiad, yr hwn sydd yn gweithredu mor gyffredinol,—neu ynte rhyw beth arall fu yn achlysur i'w gynyrchu: hyn nis gwyddom; ond sicr yw, mai cariad at fydyr yw un o egwyddorion mwyaf cyffredin y natur—mae yn cyrhaedd trwy bob cenedl, bob oes, a phob dosparth o ddynion.

Y cam nesaf a wnaed yn naturiol, oedd rhanu y tonau yn hanner tonau. Canfyddid yn fuan y gall dyn ynganu dwy don fer yn amser un don hir, yr un fel ag y gall roddi dau gam byr yn amser un cam hir. Y mae dyn yn cael ei arwain yn naturiol i hyn yn hir cyn y mae yn ystyried ac yn myfyrio ar hyny. Fel hyn y cafwyd dau brif elfen cerddoriaeth—tonau a mydyr.

Ar y cyntaf yr oedd barddoniaeth a dawns yn unol bob amser â cherddoriaeth, a'r fwyaf henafol oedd dawns, fel y profir oddiwrth genedlaethau yn gyffredin yn ysdod eu mabandod; ac fe allai mai hyn eto a roddodd ddechread i fydyr. Ond yn raddol dechreuwyd dderchafu mawl i wrthddrych yr addoliad, adrodd gorchestion y gwroniaid, ac adgofio teilyngdod yr henafiaid—oll mewn pennill a chân. Yr oedd y fath undeb rhwng y doniau hyn a'u gilydd yn mhlith y Groegiaid gynt (ac yn mhlith yr henafiaid o bob cenedl), fel y galwodd *Homer* farddoniaeth, cerddoriaeth, a dawns, yn brif addurniadau y wledd—a galwid y bryddest a'r erddygan gynt, wrth yr un enw. Ond yn raddol gwahanwyd y ddawns oddiwrth y gân, a'r erddygan oddiwrth y geiriau. Y canlyniad fu, myfyrio seiniau cerddoriaeth yn iaith y nwydau

a'r teimladau, yn annibynol ar bob peth arall. Ac er fod cerddoriaeth yn iaith mor ddealladwy a phriodol i'r teimladau, ag ydyw Cymraeg i'r Cymreigydd, Saesonaeg i'r Saesnigydd ; eto nid yw iaith sain yn unigol, nac iaith y bardd yn unigol, yn berffaith — ond cynwysir perffeithrwydd y naill a'r llall yn undeb y ddwy â'u gilydd, fel y caf ddangos yn ol llaw.

Y crybwyllion yma a'n harweiniant i gymeryd golwg driphlyg ar gerddoriaeth—sef fel *Gwyddoreg, Celfyddyd*, a *Chaniadaeth*.

1. Y rhan Wyddoregol sydd yn traethu am seiniau cerddoriaeth yn eu holl berthynasau elfenol. Mewn gair, pob peth sydd mewn cerddoriaeth yn wrthddrych i'r *deall yn unig*, gellir ei olygu yn perthyn i'r rhan Wyddoregol. Yn y tair rhan flaenaf o'r Gramadeg hwn, buom yn traethu ar gerddoriaeth fel Gwyddoreg. Yn y rhan gyntaf, eglurwyd yr holl arwyddluniau a ddefnyddir ynddi. Yn yr ail ran, cymerwyd seiniau cerddoriaeth mewn llaw, pryd y dangoswyd eu nifer — y rhanwyd hwynt i'r manylrwydd mwyaf — ac y dangoswyd eu gwahanol heffeithiau—dan y pen *Graddfaau*. Wedi hyny eglurwyd eu perthynas naturiol â'u gilydd, dan y pen *Cyweiriau*. Yna chwiliwyd i mewn i'r deddfau sydd yn llywodraethu y cyfnewidiadau celfyddydol a wneir iddynt—dan y penau *Trawsddodiad* a *Thrawsgyweiriant*. Yn ddiweddaf, dangoswyd y cysylltiad mydryddol sy rhwng cerddoriaeth a barddoniaeth—dan y pen *Acenyddiaeth*. Yn y drydedd ran, dechreuwyd drwy roddi i lawr y prif osodiadau yna ; dangoswyd pa seiniau sydd yn soniarus gyda'u gilydd, a pha rai sydd yn ansoniarus gyda'u gilydd ; ac yn nglŷn â phob un o'r ddau, eglurwyd pa fodd y mae ereill yn deilliaw o'r prif gordiau, o'r rhai mwyaf agos, hyd y rhai pellaf eu

perthynas; y cwbl dan y penau *Cydseiniaid* ac *Annghydseiniaid*. Wedi hyny, eglurwyd y ddeddf sydd yn llywodraethu mynediad yr annghydseiniaid i'r cydseiniaid—dan y pen *Parotoad, Tarawiad,* ac *Adferiad* yr annghydseiniad. Ac yn ddiweddaf oll, nodwyd y neillduolion sydd yn dygwydd mewn cynghanedd, mewn amgylchiadau penodol—dan y penau *Diweddebau* a *Thrawsgyweiriant*.

Fel hyn yr ydym wedi gosod ger bron yr efrydydd, gyfundraeth gyflawn a rheolaidd o elfenau cerddoriaeth, yn sylfaenedig ar natur ei hun.

Wrth dynu brasluniad o'r gyfundraeth ar y cyntaf, ein penderfyniad oedd peidio â dewis yr un awdwr neillduol i'w ganlyn, nac ychwaith gwneyd crynhoad cyfieithiedig o amrywiol awduron; ond yr egwyddor a ddewisasom i weithredu wrthi, ydoedd, darllen yn ofalus bob awdwr ag a allasem ei gael, a barnu yr oll yn ngoleuni natur a chelfyddyd; yna corphori ein syniadau yn un gyfundraeth gyson â *Cherddoriaeth Eglwysig Gymreig*. Dyma yr egwyddor a farnem yn iawn, ac wrth hon yr ydym yn glynu yn ddiymwrthod. Gan hyny, nid yw o gymaint pwys genym pa awdwr neu awduron a withddywedwn, os byddwn yn gyson â'r egwyddor hon; a pha le bynag y methwyd, neu y methir eto, gyrhaedd y nod yma, bydd hyn yn deilliaw o'n hanwybodaeth a'n hanfedrusrwydd, ac nid o fwriad.

2. Y rhan Gelfyddydol sydd yn dysgu uno y seiniau yma yn erddygan, neu gyfansoddiad cerddorol. Rhaid i'r rhan gelfyddydol gynwys digon o wybodaeth a chyfarwyddiadau i arwain y cyfansoddwr i drefnu y seiniau mewn cyfartalwch cywir—ac yn y fath fodd ag i gynhyrfu holl deimladau neu nwydau y natur ddynol—a hyny mewn cydffurfiad â'r genedl a'r pwnc y byddys yn

cyfansoddi atynt. Dyma'r gorchwyl mawr a phwysig fydd genym mewn llaw yn y bedwaredd ran o'r Gramadeg. Am hyny, amcan y cwbl fydd, galluogi y cyfansoddwr i ddefnyddio ei wybodaeth gerddorol i gynyrchu cyfansoddiadau eglwysig, addas a theilwng i dymher, nodwedd, ac athrylith, cenedl y Cymry.

Yn awr (a defnyddio iaith gymharol) ni a welwn fod y rhan *Wyddoregol* yn parotoi sylfaen a defnyddiau i adeiladu; ond dim yn mhellach—a'r rhan *Gelfyddydol* yn ymaflyd yn y defnyddiau, ac yn goruwchadeiladu ar y sylfaen osodedig.

3. Y rhan Ganiadaethol, sydd yn cynwys defnyddiad yr erddygan neu gyfansoddiad. Nid yw yn ddigon deall athrawiaeth sain yn wyddoregol, na'u huno eilwaith yn gelfyddydol; ond cyn y ceir y budd a'r dyddanwch sydd yn gynwysedig yn y wybodaeth, rhaid i'r hyn a gyfansoddwyd gael ei ddadganu.

Dan y pen hwn sylwn yn gyntaf, beth yw canu; ac, yn ail, fod canu yn rhan arbenig o addoliad y gwir Dduw.

I. Gadewch i ni chwilio ychydig yn gyntaf, beth a feddylir wrth ganu.

Y mae y gair canu yn tarddu o'r gair càn, fel y mae'n amlwg i bob Cymreigydd; ystyr blaenaf pa un yw, *gwneyd peth yn amlwg neu eglur*. Y mae y gair càn, a'r gair càn, gwyn neu ysblenydd, yn deilliaw o'r un gwreiddyn, ac yn perthyn i'r un drychfeddwl cyntefig; felly, gan hyny, y mae y gair canu yn ei ystyr wreiddiol yn arwyddo, dwyn peth i oleuni.

Y defnyddiad cyntaf a wnaed o'r gair fel enwedigaeth, a gymhwyswyd at ddarluniad cyhoedd o unrhyw beth mewn barddoniaeth a cherddoriaeth; ac y mae'r gair hyd heddyw yn cael ei ddefnyddio am gyfansoddi

englyn, cywydd, &c., yn gystal ag am ddadseinio erddygan.

Ymddengys y priodoldeb o hyn yn amlwg, pan yr ystyrir fod pob peth a ddygid i sylw yn yr hen amseroedd, yn cael ei wneyd mewn barddoniaeth a cherddoriaeth—pa un bynag ai talu parch ac ymostyngiad i wrthddrych eu haddoliad—adgofio gorchestion eu henafiaid—adrodd bywyd eu gwroniaid—gwawdio eu gelynion,—neu ynte egluro duwinyddiaeth a llênoriaeth yr oes; gwnaed hyny ar y cyntaf mewn barddoniaeth a cherddoriaeth, fel yr unig gyfryngau effeithiol. Gan hyny, a chadw at ystyr cyntefig y gair, arwydda *canu*, yn 1, amlygu neu ddangos unrhyw beth mewn mydraeth—ac, yn 2, dadseinio neu leisio unrhyw erddygan neu gyfansoddiad cerddorol. Ac wrth ystyried cyflwr a defnyddiad gwahanredol y doniau hyn yn y dyddiau presenol, yr ystyr mwyaf addas, efallai, yw yr olaf.

Felly, oddiwrth y defnyddiad yma, canu yw rhoddi y llais allan yn fawsaidd a soniarus. Gan hyny nid canu yw pob swn a wnier gan ddynion â'u lleisiau, mwy nag ydyw rhochiad mochyn, cyfarthiad ci, neu weryriad march; ac nid yw pob swn a wneir gan ddynion, hyd yn nod yn addoliad y gwir Dduw, ac a olygir gan laweroedd yn ganu, yn deilwng o'r enwad.

Oddiyma hefyd y deilliodd y priodoldeb o ddywedyd fod rhai o'r adar yn canu; megys y gôg, y fwyalch, a'r eos: pryd mai anmhriodol fyddai dywedyd fod pob aderyn yn gwneyd felly; * megys y frân, y barcut, neu

---

* Dywed rhai nad oes genym angraifft o aderyn o fwy maintioli nâ'r fwyalch yn canu; ond dywedwn ni y Cymry fod ceiliog yr iâr yn canu, er, efallai, na wna yr un genedl arall felly. Pan y dywed y Cymreigydd, "*Canodd* y ceiliog," dywed y Sais, "The cock *crew*," ac

y paen. O herwydd nid yw lleisiad y rhai olaf, namyn crech seiniau afreolaidd ac aflafar: pryd y mae caniadau y rhai blaenaf yn ddylyniad rheolaidd o seiniau penodol y raddfa. Er angraifft—ffurfir cân y gôg o ddwy sain, y cyweirnod a'i drydydd: fel hyn,—




Cân y fwyalch hefyd a ffurfir o bedair sain; y cyweir-

---

nid, "The cock *sang*." Ond y pwnc yw, a ydyw y Gymraeg yn anmhriodol? Y gwreiddiol yw, *Alectôr ephônêse*. Yn awr ystyr y gair *phôneô*, a gyfieithir yma canu, yw *seinio, lleisio*, a'r cyffelyb; oddiwrth *phônê*, y llais, swn, &c., yr hyn a arweiniodd rhai i feddwl y dylai gael ei gyfieithu yn debyg i hyn—*lleisiodd* y ceiliog, neu *rhoddodd* y ceiliog ei *lais allan*. Ond nid yw tarddiad ac ystyr y gair gwreiddiol yn sicrhau fod defnyddiad y gair Cymreig *canu*, i arwyddo lleisiad y ceiliog, yn annghywir, hyd yn nod pe golygem nad yw y gair yn y Groeg byth yn cael ei ddefnyddio i ddynodi seiniau cerddorol (yr hyn a wrthddywedir gan Greenfield); canys y mae i'r ceiliog ei dôn briodol, yn cael eu gwneyd i fyny o seiniau penodol y raddfa, er nad mor gydffurf ag eiddo y gôg a'r fwyalch. Yr un fwyaf cyffredin a ddaliais sylw gan leisiau da, a ffurfir o dair sain, y cyweirnod,—ei eilfed—a'i drydydd: fel hyn,—



Ac er nad yw pob ceiliog yn lleisio yr un fel yn hollol, eto y mae gan bob un rifres benodol o seiniau. Felly mi feddyliwn mai nid anmhriodol yw dywedyd fod y ceiliog yn canu.

nod—ei drydydd—ei bummed—a'i wythfed; y cwbl yn gwneyd y cord cyffredin: fel hyn,—



Meddyliwyf fod yr eglurhâd yma yn gywir, nid yn unig yn ei berthynas â'r Cymry a'u hiaith, ond hefyd â holl genedlaethau henafol y byd: o herwydd yr oedd ymarferiadau barddonol a cherddorol yr oll o honynt yn debyg i'w gilydd.

Yn yr ystyr yma y mae yr ysgrifenwyr santaidd yn son am ganu. Gelwir y cyfansoddiad ei hunan yn gân, a lluniad y farddoniaeth, yn nghyda lleisiad y gerddoriaeth, yn ganu. Ni sonir ganddynt am neb na dim yn canu, ond dynion, angelion, ac adar, oddieithr mewn iaith ffugyrol. Ac nid pob lleisiad o'r eiddynt hwy chwaith a elwir yn ganu; dim ond yr hyn sy'n gydunol â'r eglurhâd a roddwyd. "A phan glywodd Josua swn y bobl yn bloeddio, efe a ddywedodd wrth Moses, y mae swn rhyfel yn y gwersyll. Yntau a ddywedodd, Nid llais bloeddio am oruchafiaeth, ac nid llais gwaeddi am golli'r maes; ond swn *canu* a glywaf fi."

Yn unol â hyn gwahaniaethir canu yn y Beibl oddiwrth bob dawn a gras ysbrydol, a phob dyledswydd grefyddol arall: ac i gyflawni y rhan yma o'r addoliad yn gymeradwy gan Dduw, ac er budd i ddyn, dangosir fod yn rhaid yn

1. I'r galon fod yn y gwaith. Felly dywed yr apostol wrth ysgrifenu at yr Ephesiaid.* "Gan lefaru wrth eich gilydd mewn salmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol; gan *ganu* a phyncio yn eich *calon* i'r Arglwydd." Nid

* Pen. v. adn. 19

cyfeiriad at orfoledd ysbrydol neu lawenydd yn yr Ysbryd Glan, sy gan yr apostol yn y lle hwn; canys y mae y saint yn fynych yn cyfranogi yn helaeth o'r llawenydd hwn, pryd nas gallant ddefnyddio eu lleisiau i ganu. Ond meddwl yr apostol yw, y dylai y galon ymgymeryd â thestun neu fater y gân, yn gystal ag y mae'r tafod yn ymgymeryd â'r seiniau.

2. Dylid canu yn rheolaidd. Felly y dysgai y Psalmydd * i ganu mawl yn *ddeallus*—a chanu yn *gerddgar* a *soniarus*: a phwy ond yr ynfyd a hoffai anweddeidd-dra ac annhrefn gyda hyn, yn fwy nâ phethau ereill?

II. Bod canu yn rhan arbenig o addoliad y gwir Dduw. Profir hyny oddiwrth y cysylltiad moesol sy rhwng dyn a seiniau cerddoriaeth.

Sylwasom o'r blaen fod perthynas neillduol rhwng y synwyr o glywed ac ysgogiadau y meddwl a theimladau y galon. Dibyna hyny ar y gwirionedd anwadadwy, fod dyn, tra yn y fuchedd hon, yn dwyn cysylltiad âg anian allanol yn yr oll o hono—fod y Creawdwr doeth wedi ei lunio yn y fath fodd, ag i effeithio ar, a derbyn effeithiau oddiwrth, wrthddrychau a gweithrediadau natur. † Fe saif y gosodiad yn ei gysylltiad â dyn fel bôd anianyddol a pheiriannol (*physical and organized being*), yn gystal ag fel creadur moesol a meddyliol—ond yn yr ystyr diweddaf y mae a fyno ni âg ef yn bresenol. Os edrychwn ac os sylwn yn fanwl ar seiniau fel y cyfryw, ni a gawn eu bod yn ffurfio iaith naturiol mor

* Ps. xlvii. 7. a xxxiii. 3.

† Y mae y pwnc athronaidd uchod yn rhy helaeth i ymosod i'w egluro a'i brofi yn gyflawn yn y Gramadeg hwn; ond y mae yr awdwr yn bwriadu ei ddwyn yn fuan i sylw ei gydwladwyr, mewn llyfr gwahanol, yn nghydag amryw o bynciau ereill mewn athroniaeth.

ddarluniadol a iaith celfyddyd—er, mae yn, wir y gellir ei chyfnerthu yn fawr drwy olygon ac agweddau darluniadol. Y mae y llais yn ei seiniadaeth yn unig, yn offeryn digon nerthol a galluog i greu unrhyw deimlad rhwng dyn a dyn. Ac yn wir y mae digon o debygolrwydd rhyngom ni a'r anfeiliaid is-raddol, yn arwyddion seiniol llawer o'r cynhyrfiadau, megys digder ac ofn, tristwch a llawenydd, fel ag i brofi fod yr egwyddor yn cyrhaedd tuhwnt i derfynau y rhyw ddynol. Beth yw ffynnonell wreiddiol y cyfryw wahaniaethiad, nid oes a fynom yn bresenol; ond yr ydym yn dysgu drwy brofiad a chymdeithas beth yw arwyddocâd yr hyn sydd yn leisiol yn unig, yn wahanedig oddiwrth eiriau. Braidd y gellir meddwl am gysgod o amrywiaeth ystyr, ac o'r hyn lleiaf yn y teimlad gwanaf, nad oes iddo ei sain briodol, ac nad ellir ei ddarlunio yn gywir drwy seiniadaeth—fel y gellir dywedyd yn unig oddiwrth y sain, yn annibynol ar eiriau, beth yw ysgogiadau y galon, a pheth yw gweithrediadau y dealldwriaeth. Dyma'r achos fod cerddoriaeth, hyd yn nod ar wahan oddiwrth eiriau, mor alluog ac addas i gyflwyno a chynhyrfu gweithrediadau y meddwl—mor belled ag i adrodd llawer chwedl fuddiol gydag argraff annileadwy, a llawer golygiad gwronaidd neu dyner yn eithaf dynwaredol, heb gynorthwy lleiaf yr un arwydd llafar.

Yn awr, rhaid golygu y gallu yma mewn cerddoriaeth, yn weithred uniongyrchol y Creawdwr, mewn addasiad natur allanol a defnyddiol, at gyfansoddiad moesol dyn; canys beth a all fod yn fwy addas i'w gyfansoddiad moesol, nâ'r hyn sydd â thuedd penodol i'w ddiwylliad moesol? a pheth sydd yn fwy effeithiol i hyny nâ cherddoriaeth?

Ar y berthynas hon yr ymddibyna yr effaith neillduol sy gan gerddoriaeth ar dymherau dyn.

Nid ein hamcan presenol yw traethu ar y cysylltiad sy rhwng y tymherau â dyn fel creadur rhesymol a moesol, nac ar y dylanwad sy gan wir grefydd ar y cyfryw: gadawwn hyny i'r athronyddion a'r duwinyddion.* Y mae hyny yn ddigon amlwg, oddiwrth ffeithiau aml a chyffredin, fod gan gerddoriaeth effaith a dylanwad mawr ar y tymherau, ac y mae y berthynas hon mor agos, a'r dylanwad mor gyffredin, fel mai anaml y cyfarfyddir âg eithriad: a barna y rhai mwyaf gwybodus † mewn aniandraw, fod rhyw anmherffeithrwydd yn mheiriannwaith y dynion hyny nad ydynt yn ddeiliaid i'r dylanwad yma. ¶

Ond dibyna natur y ddylanwad ar natur y beroriaeth, fel y cawn ddanges eto yn yr ail adran.

Nid pwnc diweddar mewn cerddoriaeth ydyw hyn, fel y gŵyr pawb sydd yn lled wybodus yn ei hanesiaeth, ond daliai yr henafiaid y sylw manylaf arno, yr hyn a'u galluogodd gymaint i gynyrchu erddyganau mor effeithiol. Ac yn wir, nid oedd yn gêl oddiwrth y wir eglwys dan yr hen oruchwyliaeth; ond ymddengys yn lled amlwg fod y prophwydi gynt yn deall fod gan

---

* Gall y Cymro uniaith gael llawer o oleuni ar y pwnc, drwy fyfyrio gwaith rhagorol y galluog Jonathan Edwards o America, ar y serchiadau crefyddol, a gyfieithwyd gan y Parch. T. Jones, Amlwch.

† Combe, &c.

¶ Dywedodd Shakespeare am y teulu yma fel hyn :
The Man that hath no Music in his Soul,
And is not moved with Concord of sweet sounds,
Is fit for Treason, Stratagems, and Spoils ;
The Motions of his Spirit are dull as Night,
And his Affection dark as Erebus ;
Let no such Man be trusted.

gerddoriaeth effaith rhagorol ar y dymher, a gallu cymhwys i ddwyn yr ysbryd a'r teimlad i agwedd addas yn ngwasanaeth crefydd. Y mae yn amlwg oddiwrth yr ysgrythyrau santaidd, fod yn angenrheidiol i'r prophwyd fod mewn ffurf ac agwedd addas o ran ei feddwl a'i deimlad, er ei gymhwyso i dderbyn ysbrydprophwydoliaeth; a'r moddion a ddefnyddid i hyny oedd cerddoriaeth.

Cawn angraifft amlwg o hyn yn 2 Bren. iii. Pan yr oedd breninoedd Israel, Juda, ac Edom, yn gwrthryfela â brenin Moab, daethant i ymofyn am Eliseus y prophwyd, fel y gallent ymgynghori âg ef. Oddiwrth adroddiad o'r ymddyddan a fu rhyngddynt, ymddengys yn amlwg i ddigofaint y prophwyd enyn i raddau at frenin Israel; ond o herwydd ei barch i frenin Juda, efe a brophwydodd iddynt. Eto yr oedd ei gynhyrfiad at frenin Israel wedi ei annghymhwyso i dderbyn ysbryd prophwydoliaeth; a'r moddion a ddefnyddiodd i'w ddwyn i agwedd iawn, oedd galw am gerddor—"A phan ganodd y cerddor, daeth llaw yr ARGLWYDD arno ef." Yr un peth hefyd a sonir am dano yn 1 Sam. x. 5.

"Peroriaeth * * * *
Y glust a egyr yn glau,
A chwyd yr holl serchiadau
At lu Ner, telynorion
Ei lys ef! anwylweis Ion."

Yr un feddyginiaeth hefyd a gafwyd i wella ysbryd drwg Saul. "A phan fyddai y drwg ysbryd oddiwrth DDUW ar Saul, y cymerai Dafydd delyn, ac y canai â'i ddwylaw: a byddai esmwythdra i Saul; a da oedd hyny iddo, a'r ysbryd drwg a giliai oddiwrtho," 1 Sam. xxiii. 16. Beth oedd yr *ysbryd drwg* hwn sydd yn ansicr; ond digon tebyg mai drygnaws nwydol ydoedd: beth bynag, yr oedd yn ddarostyngedig i allu cerddoriaeth Dafydd, fel y darlunia y bardd,—

Pan ddae'r pruddglwyf, grwysnwyf gryd,
Drwy gasbrawf y drwg ysbryd,
I flinaw Saul aflonydd,
A'i gynhyrfu'n ddu 'n ei ddydd,
Dafydd wiwfawr, gantawr gwyn,
Cymerai, daliai'r delyn,
Gan chwareu'n geinwych eres,
Heb ŵyraw er lluniaw lles.
Drwy ddwyfol derdda wiwfad
Cynorthwyon mwynion mâd,
A llwyr gynhyrfiadau llawn,
A doniau'r Ysbryd uniawn.
Drwy ei ffydd—drwy hoff weddi—
Drwy ymdrechawl freinniawl fri—
Drwy siriol daran seirian,
Rhoddai gerdd yn rhwydd ar gân;
Cerdd fydryddawg, glymawg glod,
Cerdd hoyw, eglur,—cerdd hyglod,—
Soniarus dôn synwyrawl,
Tôn gywrain, o firain fawl,
Tôn dderch yn llannerch y llys;
Tôn nefolaidd, tôn felus,
Tôn santaidd buraidd barod,
Tôn rasawl i fythawl Fod,
Tôn ysbrydol dduwiol ddwys,
Bêr odiaeth, ail Baradwys;
Tôn hwylus iachus uchel,
Hoff rad a myg ffrydiau mêl.
Hael fywiog odidog dôn,
Mawl oslef a melyslon;
Drwy effaith hoywfaith hyfawl.
Y gerddoriaeth helaeth hawl,
Ias brad drem yr ysbryd drwg
A giliai ffwrdd o'r golwg;
Rhadawl esmwythder odwedd
A gai Saul yn ei gu sedd.
Ciliai'r prudd-der, trymder trwch,
Anaddas aflonyddwch;
Hyll agwedd y llewygon,
Oll giliai a barai bo'n.

IEUAN CAERREINION.

2. Gellir rhesymu hyn oddiwrth y ffaith fod canu yn yr eglwys yn mhob oes o'r byd.

Y mae yn wir fod y pwnc dan sylw yn ei gysylltiad â'r eglwys, cyn, ac i raddau mawr dan, yr oruchwyliaeth Foesenaidd, yn gorwedd mewn tywyllwch annhreiddiadwy, ac yn hollol anobeithiol o ymchwiliad trwyadl. Er hyny, y mae y crybwylliadau a wneir yn yr ysgrythyrau santaidd, yn brofion digonol fod cerddoriaeth mewn bri mawr yn yr eglwys dan bob goruchwyliaeth.

Yr ydym yn cael fod cerddoriaeth yn y byd mor fore ag amser Jubal y chweched o Cain, ac wedi cynyddu i'r fath raddau fel yr oedd yn dad pob teimlydd *telyn* ac *organ;** ac er nad oes genym sail i gredu fod Jubal yn rhoddi ei wasanaeth fel cerddor yn yr eglwys, eto nid oes genym le i gasglu nad oedd yn cael ei pharchu a'i gwrteithio o fewn i addoliad y gwir Dduw. Felly hefyd y parhaodd hyd yr oruchwyliaeth Foesenaidd, er na wneir crybwylliadau penodol o hyny, yn fwy nâ rhanau a ffurfiau ereill perthynol i grefydd.

Dan yr oruchwyliaeth Foesenaidd cawn grybwyllion aml a phenodol am ganu, cantorion, &c. Canodd Moses, Miriam, a holl gynulleidfa meibion Israel, yn odidog iawn ar lan y Môr coch, mewn canlyniad i'r waredigaeth ryfeddol a gawsant rhag Pharao a'i lu †

---

* Gen. iv. 21. Nis gwyddom pa fath offerynau a luniwyd gan Jubal; ond gwelodd yr hanesydd santaidd yn addas eu galw wrth yr enwau *telyn* ac *organ*. Efallai fod *cinor* (telyn) yn arwyddo pob math o offer llinynol i'w chwareu â'r bysedd; ac *ugab* (organ) yn arwyddo pob math o offer gwyntol.

† Exod. xv. 1—22.

Fe eiliai pawb fawl i'w Pen,
Parhaus ganent i'w Perchen.

Canodd yr Israeliaid ganiad ar eu hymdaith yn Beer:* a Debora a Barac am y waredigaeth a gafodd Israel o ddwylaw Jabin brenin Canaan.†

Yn ngwyneb yr ychydig ddyfyniadau hyn, ni a welwn yn amlwg, mai arferiad cyffredin gan blant Israel oedd canu mawl i'r Arglwydd yn ngwyneb gwaredigaethau ac amgylchiadau neillduol.

Ond fe'n dysgir yn fwy manwl fod canu mawl yn rhan arbenig ac ardderchog o'r addoliad dwyfol yn amser Dafydd, peraidd ganiadydd Israel. Gellir edrych ar Dafydd fel un o brif ddiwygwyr cerddoriaeth eglwysig yr oesoedd: nid yn unig o ran ei gyfansoddiadau barddonol,‡ ond hefyd yn ei ddiwylliadau cerddorol, fel y cawn achlysur i fanylu eto.

---

Molai tafodau miloedd;
Un yw y gân, enwog oedd.
Iachawdwriaeth, wych dirion
Yw swn yr awdl hyawdl hon:
Gwaredigaeth o gaeth gur,
Iachusawl hedd a chysur—
Unafâ nhwy yn fy nhaith,
Myfyriaf am wiw fawrwaith:
Molaf Ion ffyddlon a phur,
Gân Moesen, gwn ei mesur:
O bur rywiog bêr awen,
Boed ddidawl fy mawl: Amen.

PEDR FARDD

* Num. xxi. 17. † Barn. v.

‡ Prydodd dalm o bêr salmau,
Fwyned im' ynt, f'enaid mau!
Canu dwsmel a thelyn,
Yn hardd a wnei'r gwiw fardd gwyn:
Gyda'r llaw ydd ai'r awen,
Wi! wi! i'r llaw wisgi wen:
Ewybr oedd y boreddydd,
Ei lais ym min dich-lais dydd,

Y diwygiad yma yn y rhan hyn o addoliad y Goruchaf, a ganlynwyd â diwygiad cyffredinol yn nghrefydd yr oes; (*a*) yr hyn hefyd a fu yr effaith yn nyddiau Solomon, Jehosaphat, Hezecia, Ezra, Nehemia, ac ereill. (*b*) Ac y mae rhai wedi sylwi, "pan y byddai diwygiad mawr mewn crefydd yn cymeryd lle yn mhlith y genedl, o ddyddiau Dafydd hyd ddyddiau y Messia, y byddai diwygiad ac adfywiad ar y rhan hon o'r addoliad yn cydfyned yn wastadol â hyny."

Nid oedd canu mawl i Dduw yn perthyn yn unigol i'r addoliad Lefiticaidd, ac i derfynu gyda'r oruchwyliaeth Foesenaidd; ond yr oedd i barhau dan yr oruchwyliaeth efengylaidd, a thrwy holl oesoedd y ddaear.

Cawn yr awdurdod cryfaf dros ein hymresymiad yn ngwaith ein Blaenor bendigedig, yr Arglwydd Iesu, yn canu mawl gyda'i ddysgyblion ar ol y swper santaidd. (*c*) Canodd Paul a Silas yn y carchar. (*d*) Sonia yr apostol am hyn fel peth cynefin yn eglwys Corinth: (*e*) ac annoga yr Ephesiaid at yr un gwaith. (*f*) Yr apostol Iago hefyd a rydd gynghor i'r un perwyl. (*g*)

Ar ol yr oes apostolaidd y mae genym ddigonedd o grybwyllion i'n sicrhau fod canu mawl yn yr eglwys yn mhob canrif: fel y cawn achlysur eto i sylwi cyn diwedd ein traethawd.

---

"Deffro fy nabl (parabl per)
"Ni ganwn emyn gwiwner,
"I'm Ion y rhof ogoniant
"A chlod, â thafod a thant."
Am ganu ni fu ni fydd,
Hoyw fawl ei hefelydd. GORONWY OWAIN.

(*a*) 1 Cron. 16. 7—42. a 25 a 22. 2—30.
(*b*) Ezra 3. 11—13. Nehem. 12. 27—29. 45—47.
(*c*) Mat xxvi. 30. (*d*) Act. xvi. 25. (*e*) 1 Cor. xiv. 25.
(*f*) Eph. v. 19. (*g*) Iago v. 13.

Cadarnhair ein rhesymiad yn fwy eto pan yr ystyriwn fod y Jehofa mawr wedi dangos ei foddlonrwydd ar y rhan hyn o'i waith, ac wedi tywallt ei fendith drwyddi.

Y mae'n wir y buasai hyny yn ddigon o sail i'n rhesymiad, na buasai yr Arglwydd yn goddef y cyfryw fel rhan benodol o'i waith sântaidd drwy yr oesoedd, oni bae ei fod o'i osodiad, ac yn ol boddlonrwydd ei ewyllys ei hun. Ond sicrhair ni yn fwy yn y gwirionedd yma, pan yr adgofiwn yr amlygiadau lluosog a roddodd o'i gymeradwyaeth a'i foddlonrwydd i'w bobl, yn nghyflawniad y rhan oruchel hyn o'i waith. Cawn angreifftiau amlwg o hyn yn 2 Cron. v. 11—14. a xx. 1—30.

Yn awr ymddengys oddiwrth y sylwadau hyn, fod sail ddigonol i gredu fod canu mawl i Dduw yn ordinhâd ddwyfol.

"Fel mae anwybodaeth ac anystyriaeth o ordinhadau yr Arglwydd yn annghymhwys, yn niweidiol, a phechadurus i ddynion yn eu hymyraeth â holl ranau ei waith, felly, yn y gwrthwyneb, y mae gwybodaeth o syniadau cywir ac uniawn yn hollol angenrheidiol a buddiol er eu dwyn i weithredu yn addas a theilwng gydag ordinhadau Duw. Oni bydd genym wybodaeth a syniad addas am yr ordinhâd o ganu mawl fel ordinhâd ddwyfol, pa fodd y gwybyddwn fod hyny yn ddyled arnom? A pha fodd y gwnawn hyny mewn ufydd-dod i Dduw? Felly hefyd yr un modd am yr holl ordinhadau ereill. Fel y mae esgeuluso ymarfer âg ordinhadau Duw, a dyledswyddau crefydd, yn bechod, y mae ymarferiad â hwynt fel defodau arferedig, wedi eu dysgu yn draddodiadol y naill oddi wrth y llall, heb y parch a'r gwylder perthynol iddynt, fel ordinhadau Duw, yn bechadurus yr un modd. Gwelwn gan hyny yr angenrheidrwydd am, yn nghy l â'r buddioldeb a'r llesâd sydd yn gysylltedig

âg iawn wybodaeth a syniadau cywir am yr ordinhâd hon."*

ADRAN. II.—CERDDORIAETH EGLWYSIG.

Y geiriad, *cerddoriaeth eglwysig*, a arweinia y meddwl yn naturiol i gasglu fod rhyw gerddoriaeth yn bód heblaw cerddoriaeth eglwysig. Gellid meddwl ar y cyntaf fod yr amrywiaeth hyn yn ddigon amlwg i'r byd yn gyffredinol—mor wahanol yn eu rhyw a'u heffeithiau, fel y gallai y glust fwyaf annghywir a difanwl eu dynodi. Ond fel y mae gwaetha'r modd, y mae anwybodaeth yn hyn, fel mewn llawer peth arall, yn toi y wlad; ac i wneyd hyn yn waeth fyth, y mae y rhai hyny a ymhonant eu bod yn gerddorion, heb erioed feddwl am y fath beth—ïe, anfynych y cyfarfyddir hyd yn nod â *chyfansoddwr cerddoriaeth*, a ŵyr nemawr am briodoleddau *sain!* Yn ngwyneb y fath anwybodaeth, pa beth a ellid ei ddysgwyl, namyn dirywiad ac annhrefn? a gwirionedd nad ellir ei wadu ydyw, fod cerddoriaeth eglwysig Cymru y dyddiau hyn, nid yn unig yn cael ei chymysgu â sorod gwael a disylwedd, ond hefyd ei halogi â chyfansoddiadau masweddol a llygredig, gwedi eu parotoi yn unig i'r ddawns a'r chwareudy—teml y gwir Dduw yn cael ei llanw â chrechwen temlau'r eilunod!!

Ond nid wyf yn cyhuddo fy mrodyr y Cymry fel yr unig genedl sydd yn euog o'r camwri hyn. Y mae yn y byd mor fore ag amser *Plato* ac *Aristotle:* ac y mae wedi blino y gwybodus a'r sylwgar yn mhob oes hyd y dyddiau presenol.

Ond ofer fyddai cynyg beirniadaeth ar gerddoriaeth yr oes yn mhlith unrhyw genedl, heb, yn gyntaf, egluro ychydig ar natur cerddoriaeth eglwysig.

---

* Talmid—Trys. Chwef. 1837.

Clywir aml un yn dadlu, nas gall fod dim anaddasrwydd mewn defnyddio unrhyw erddygan, o ba ansawdd bynag y bo ; ac nad yn yr erddygan fel y cyfryw y mae y niwaid, ond yn y cam arferiad o honi, trwy ei chysylltu â geiriau gwag a masweddol. Dyma y cyfeiliornad sydd eisiau ei symud; a'r gwrthwyneb i hyn gael ei wneyd yn amlwg: a hyny yw yr amcan sy genym yn yr adran presenol.

Yr ydym eisioes wedi dangos fod cerddoriaeth yn iaith y teimladau—ac y mae seiniau cerddoriaeth yn dwyn yr un cysylltiad â'r iaith gerddorol, ag y mae geiriau yn'ei ddwyn â iaith lafarol. Y mae y naill a'r llall yn sefyll yn yr un berthynas â'r ddwy iaith—yn agored i'r unrhyw iawn ddefnyddiad, neu gam ddefnyddiad— ac felly yn wrthddrychau têg i'w cymharu.

Gwir yw, nad yw sain unigol yn ddrwg na da, yn ei chysylltiad â theimladau dyn ; ond dibyna y dylanwad hyny ar gydundeb gwahanol seiniau. Yr un fel hefyd am air unigol ; nid oes na drwg na da yn ei berthynas â chyneddfau dealldwriaethol a moesol dyn—ond dibyna hyny hefyd ar ei ffurfiad brawddegol. Ond tra y safa geiriau unigol dan y nodweddiad hyn, gellir, trwy eu huno yn wahanol, amlygu gwahanol ddrychfeddyliau, a hyny i'r fath eangder amrywiol, fel nad oes na gwrthddrych, symudiad, na pherthynas, nad ellir ei ddynodi i fanylrwydd neillduol. Felly gall yr un geiriau gael eu defnyddio gan y pregethwr i egluro gwirioneddau pwysig duwinyddiaeth, weithiau i beri ofn a dychryn, bryd arall llawenydd a gorfoledd ; y cwbl yn tueddu i foesoldeb a rhinwedd—a chan y chwareuydd, weithiau, i beri cynddaredd a digofaint; bryd arall, grechwen ac ynfydrwydd; y cwbl yn arwain i lygredig-

aeth ac anfoes. Yr un modd hefyd y gellir dywedyd am seiniau cerddoriaeth, fel y maent yn elfenau yr iaith gerddorol. Yr un seiniau a ddefnyddir i gynyrchu cerddoriaeth eglwysig, weithiau i ddryllio y teimladau mewn tristwch a galar dwys, bryd arall i ddyrchafu y serchiadau mewn llawenydd ac hyfrydwch nefol; y cwbl yn tueddu i wellâd y galon—ag i gynyrchu cerddoriaeth y chwareufa, weithiau i beri creulonder a rhyfyg, bryd arall ysgafnder ac ysmaldod ffiaidd; y cwbl yn arwain i lygredigaeth y galon.

Y mae y gallu a'r dylanwad gwahanol yn yr amrywiad hyn mewn cerddoriaeth,'yn amlwg ynddo ei hunan, ac yn hawdd i'w ganfod. Ond rhwng y ddau eithafoedd yma, gellir dwyn i mewn amrywiad annhraethol, yn gofyn clust graff a galluog, yn nghyda diwylliant ac eangder gwybodaeth, i'w gwahaniaethu a'u dosparthu yn iawn. Canys nid oes yr un drychfeddwl nad ellir ei ddarlunio drwy iaith sain, na'r cysgod lleiaf o amrywiaeth nad ellir ei baintio trwy rinwedd cerddoriaeth.

Trwy y gallu yma mewn cerddoriaeth galluogir y bardd a'r cerddor i gyd-deithio gyda'r manylwch a'r agosrwydd mwyaf. Beth bynag fyddo natur testun y blaenaf—pa un ai moli gwrthddrych ei addoliad—canmol rhinwedd—neu draethu gwybodaeth:—neu ynte gwarthruddo ei elyn—cynhyrfu creulondeb—neu wawdio yr ynfyd—rhoddir bywyd yn ei holl linellau, a grym yn ei iaith, gan y cerddor medrus. A pha beth bynag fyddo ei arddull, canlynir ef i'r manylrwydd uwchaf gan y cerddor. Oddiyma y deilliodd yr amrywiaeth mawr sydd wedi bod trwy yr oesoedd, ac yn aros i raddau helaeth hyd heddyw.

Ond cyn sylwi ar y gallu yma mewn unrhyw wasanaeth neu ffurf, tuag at gael syniad cywir o'r pwnc, y

mae yn angenrheidiol i ni ddal, mai sylfaen defnyddiad cerddoriaeth, yw ei heffaith.

Nid trwy ddefnyddiad difwriadol neu ddygwyddiadol, y teimlwyd dylanwad a grym cerddoriaeth, ac oddiyno ei mabwysiadu at yr unrhyw amgylchiadau yn ol llaw. Nid trwy egoryd ei seiniau mewn cywreinrwydd diragbrawf y profwyd ei heffeithiau ar y natur ddynol. Ond yr effaith a deimlwyd yn gyntaf, ac yn ganlynol fe'i defnyddiwyd. Y mae hyn yn amlwg pan yr ystyriom, mae y ffynnonell o ba un y tardda y gallu yma, ydyw nwydau y natur—ac nis gallwn ddychymygu nad yw, mewn gradd benodol, yn cydoesi â'r hil ddynol.

Dysgir ni drwy hyn, i ystyried, mai dyben a swydd cerddoriaeth yw effeithio, a rhoddi grym yn y geiriau y cyfansoddir atynt. Pa beth bynag, fel y sylwyd o'r blaen, fyddo testun y cyfansoddiad, dyben ac amcan y cerddor yw dwyn yr hyn a draethir gan y bardd, adref at deimlad y gwrandawydd; a thrwy hyny, iddo gael lle ac arosiad dyladwy ar ei feddwl. Dymunwn wneyd hyn yn amlwg, a'i wasgu at ystyriaeth difrifol yr efrydydd. Nid yw pob erddygan yn gerddoriaeth, mwy nag ydyw pob rhigwm yn farddoniaeth. Pe bae pentyru cruglwyth o eiriau—ïe, yn mhellach, pe bae cyfuno geiriau dewisol mewn mydraeth difeth a chywir—yn farddoniaeth; caem llond gwlad o feirdd mewn ychydig o amser. Nid mesur na chynghanedd yw enaid barddoniaeth. *

* Ond odid na ddealla yr efrydydd i raddau erbyn hyn, y cysylltiad agos sy rhwng barddoniaeth a cherddoriaeth, yn nghyda'r pwysfawrogrwydd i'r cerddor feddiannu drychfeddwl cywir am iaith y bardd. Gan hyny nid difudd fyddai i ni gyflwyno i'w ystyriaeth y sylw canlynol o eiddo *Gwenffrwd*, yn ei ragdraeth i'w Geinion Awen. "Gellir sylwi ychydig weithian ar y cy-

Mae'n wir y boddhair yr annghyfarwydd a'r anwybod-

---

neddfau neu ddylanwadau angenrheidiol er cyfansoddi yn gelfyddwiw ac ardderchawg. Dylai y Bardd ymofalu gymaint wrth ffurfiaw ei grebwyll *(imagination)*, ag y gwna yr Athronydd wrth goleddu ei ddeall. Rhaid iddo archwaethu gweithredion anian, ac ymgynefinaw â gwrthddrychau buchedd wladawl. Gwedi iddo gaffael digon o ddelweddau *(images)* gwladawl, os myn efe ddringaw yn uwch nâ Barddoniaeth Deuluaidd, dylai feddu gwybodaeth am rwysg a mawredd, bonedd a breninoldeb. Efe a ddylai fod yn dra hysbys â phobpeth ag sydd fawreddus a gorwych odidog yn nglŷn â'r celfyddydau presenol, cystal ag adfeilion sawl ag oeddynt glodfawr yn yr oesoedd gynt. Y mae y cymhwysderau hyn yn goleuaw meddwl y dyn, yn eangu ei ddychymyg, a dilys yr ymddangosant yn gelfyddgar trwy ei waith, os gŵyr yr awdwr y dull addasaf i'w cymhwyso. Ac os dethola efe yn fanylgraff eiriau ardderchawg a chywrain, ac ieithwedd ramantawl, mae ganddynt y fath allu, fel y rhodda dyfaliad awenyddawl i ni feddylddrych fwy bywiog, nag y gwnai hyd y nod y gwrthddrych ei hunan. A cheiff y darllenydd y drych yn addurnedig â lliwiau tecach a thebyeach i anian yn ei ddychymyg trwy rym ymadroddion dewisawl ac ieithwedd eglurlan a blodeuawg, na phe gwelai hyd y nod y golygiad a lunweddir gyda ei lygaid ei hun: y mae y Bardd yn hyn malpai efe yn rhagori ar anian. Dilys ei fod yn dwyn yr arlun oddiwrth anian, ond y mae yn dodi arno wisg gywreiniach, yn gloywi ei harddwch, ac yn bywiogi y gwrthddrych yn y fath fodd, nes yw y delweddau a ddeillir oddiwrtho, yn ymddangos yn aneglur, gogyfer â'r rhai a darddant oddiwrth ymadroddion harddwych a dyfalgar. Ond rheidiol yw iddo gael y gyneddf yn ei enedigaeth cyn y gallo gyrhaedd y fath berffeithrwydd; dylai gael athrylith a chrebwyll i iawn ddyfalu anian, ac oddiwrth ei lunweddau meddylddrychau goruchel, yr hyn yw prif ansawdd barddoniaeth: ac yn ngeiriau y Trioedd, anhebgor i Fardd yw "llygad yn gweled anian, calon yn teimlaw anian, a glewder a faidd gydfyned âg anian."

ua â sain, pryd yr edrych y diwylliedig am synwyr yn benaf.

---

Beth bynag a fernir am gywirdeb eithafiaeth ein hawdwr, y mae y darluniad a rydd yn dra phriodol. Nis gallwn fyned heibio heb adysgrifio y darluniad a rydd y bardd o'r un pwnc ar un o'r mesuron caeth.

Awenydd a adwaenir—wrth ei waith,
A gwerth y gwaith a wnelir;
Nid yw pob peth a blethir,
O'r un waed â'r âwen wir.

Nid rhydd Awenydd anian—ydyw sŵn,
Cydseiniaid yn clecian;
O dinc i dinc, yn rhincian;
Mae aer gerdd rhigymwyr gwan.

Gwehilion beirdd, gwaelion byd,—ni wyddant
Rhinweddau'r gelfyddyd;
Ond llarpiant, haciant o hyd,
Wyneb Awen a'i bywyd.

Toraeth ar doraeth dyrant—o eiriau,
Twrw mawr a gadwant;
Dwyn nerth ein hiaith dan warth wnant,
Beirdd o Awen bardduant.

Os gellynt ddyfeisio gwallau—gofrestr,
Neu gyfrif mân feiau
Crachawdwyr, rhigymwyr gau,
Ni ddaliant ar *feddyliau*.

Plisgyn yr englyn a rydd—ddifyrol,
Wledd fawr i grach brydydd;
Ni wiw son, nad hyny sydd,
Wrth hwn, yn nerth Awenydd.

Rhoi meddwl a grym iddo—yn ei waith,
Ni wyr ddim am dano,
Byw ar waeledd, a brolio
Efo thwyll wna ei fath o.

Dwl a dyrys dlawd eiriau—ag arnynt,
Glogyrnog gymalau,
Dyma geir i gyd yn gwau
Yn marddoniaeth myrddiynau. G. C.

Boddlonir un âg iaith gref; ond y llall â chrebwyll cryf. Ymhyfryda un yn harddwch y plisgyn, a'r llall yn melusder y cnewyllyn. Edrych un am ddifyrwch i'r glust drwy swyn y cynghaneddion; ond y llall am welliant y meddwl drwy foddio y dychymyg.

Gellir dywedyd yn gyffelyb hefyd am gerddoriaeth. Nid yw pob erddygan a genir yn nghynulleidfaoedd Cymru yn y dyddiau hyn yn gerddoriaeth. Ac nid pob un a gymeradwyir gan y werin fel y cyfryw, sydd yn deilwng o'r enw. Oddiwrth sefyllfa cerddoriaeth ein gwlad, rhaid i ni gasglu un o ddau beth; sef, nad yw cerddoriaeth ond cymysgedd disynwyr ac aneffeithiol o seiniau, neu, nad yw erddyganau a chyfansoddiadau cyffredinol yr oes, yn cyfateb i natur a synwyr cerddoriaeth. Y cyntaf o'r casgliadau yma nis meiddiwn ei dynu, heb wadu yr egwyddorion cadarnaf, a'r ffeithiau mwyaf amlwg. Ond rhwymir ni at yr olaf, er i ni drwy hyny gollfarnu cerddoriaeth ein hoes a'n cenedl.

Yr ydym wedi crybwyll eisioes, fod cerddoriaeth yn iaith, nid yn unig i'r teimladau, ond bod ynddi allu a chymhwysder i gynyrchu syniadau a drychfeddyliau. Gan hyny, ein rheol flaenaf i farnu rhagoroldeb neu waeledd unrhyw gyfansoddiad, ydyw, nid ei reoleidddra o barth ei gynghanedd, ond ei allu o argraffu ar y meddwl ystyr a chynwys y geiriau, neu y pwnc y cyfansoddir ato. Mae yn wir nad yw hanner ein cerddorion yn edrych ronyn pellach nâ cheisio llunio eu herddyganau at reolau cynghanedd, cyhelled ag y deallant y pwnc, heb feddwl fod dim arall yn eisiau, ond cyrhaedd hyny; pryd y dylent yn mlaenaf ystyried y gallu a soniwyd, yr hyn yw cerddoriaeth ynddi ei hun. Gellir cyfansoddi yn eithaf rheolaidd o barth i symudiad y beroriaeth a'r gynghanedd, ac eto heb fod un ban o gerddoriaeth drwy

yr holl gyfansoddiad. Ond na feddylied y darllenydd fy mod yn diystyru rheolau y gelfyddyd; nac wyf mewn un modd; ond yn y gwrthwyneb, yr wyf yn credu mai annichonadwy cyrhaedd rhagoroldeb mewn cyfansoddiad peroriaethol neu gynghaneddol, heb ei fod yn cyfateb i reolau y naill a'r llall, fel y caf ddangos wrth egluro rheolau cyfansoddiant. Y gwir yw hyn, fod yn rhaid cael synwyr, ac nad adewid y rheolau heb eu gwneuthur.

Ymddibyna natur y gerddoriaeth ar natur y testun y cyfansoddir ato, fel y soniwyd, yr hyn hefyd sydd yn llywodraethu yr arddull.

Yn awr gallwn ddosparthu cerddoriaeth i dri dosparth cyffredinol; sef, *Eglwysig*, *Moesol*, a *Gwladol.*

1. Cerddoriaeth Wladol. Y dosparth yma a gynwys bob cerddoriaeth a berthyn i wladwriaeth fel y cyfryw. Gall amrywio yn fawr yn ei natur; megys rhyfelgar, chwareuyddol, teuluaidd, &c., yr hyn o angenrheidrwydd a'u gwahaniaetha yn eu dyben. Er engraifft, dyben cerddoriaeth ryfelgar yw creu syniadau a theimladau gwronaidd yn y milwr, a'i wneyd i wynebu y gâd yn llawn calondid a hoenusrwydd, yn ddiystyr o'r perygl, a dibryder o'r canlyniadau. Felly hefyd y mae i bob rhyw o gerddoriaeth wladol ei swydd a'i ddyben gwahanol yn ol ei natur. Y mae yn amrywio hefyd yn ei harddull o'r symudiad mwyaf gwronaidd, hyd yr ysgogiadau mwyaf ysgafn a chrechwenol; ond ymddibyna hyny ar natur a dyben y gerddoriaeth. Beth bynag, gellir dywedyd mai nodeb cyffredinol cerddoriaeth wladol yw effeithio ar deimladau anifeilaidd dyn.

2. Cerddoriaeth Foesol. Dan y pen hwn y cynwysir pob cerddoriaeth sydd yn addas i'r gydgerdd, yr angladd, neu unrhyw gymdeithas neu amgylchiad rhinweddol, megys y gymdeithas Ddirwestol, a'r cyffelyb

Gall y testun fod yn ysgrythyrol neu leol o ran ei darddiad, ac yn orfoledd neu dristwch o ran ei gynwysiad; ond beth bynag fyddo, rhaid ei fod o natur foesol, a thuedd ynddo i wellau y galon.

Y mae cerddoriaeth foesol yn gwahaniaethu yn fawr yn ei nodeb oddiwrth gerddoriaeth wladol. Yn lle cyfeirio yn benaf ac yn unigol at y teimladau anifeilaidd, gwrthddrych hon yw y cyneddfau dealldwriaethol a moesol. Cynwysa, ar un llaw, bob peth sydd yn hardd, yn oruchel, ac arddunawl; ac ar y llaw arall, bob peth sydd yn syml ac effeithiol. Ar un llaw, caniatâ i'r cyfansoddwr ymollwng i eithafoedd ei athrylith, a chanlyn y crebwyll yn ei rodfa mwyaf anturiaethus, gan ddwyn allan y syniadau mwyaf godidog a chyfoethog a ddichon y dychymyg arlunio. Yn y cyfryw gyfansoddiadau, rhaid fod yr arddull yn fawreddog a bywiol; a chaniatair, a gofynir hefyd, mewn amgylchiadau penodol, medrusrwydd uwchaf y cyfansoddwr. Ar y llaw arall, caniatâ i'r cyfansoddwr arwain ei seiniau drwy ei destun yn fwy uniongyrchol at y teimladau tan lywodraeth y syniad moesol. Y pryd hyny arwisgir y cyfansoddiad â symlrwydd prydferth, yr hyn a'i gwna i ffinio ar dir cerddoriaeth eglwysig. Neu ynte caniatâ i ymsymud rhwng y ddau eithafoedd yma, gan gyfranogi i raddau helaethach o'r arddull gwronaidd.

3. Cerddoriaeth Eglwysig. Cynwysa y dosparth yma bob math o gerddoriaeth sydd yn deilwng ac yn addas i'w defnyddio mewn gwasanaeth grefyddol. Nis gellir ei chyfyngu at unrhyw destun mwy penodol nâ'u gilydd, ond yn unig ei fod o fewn cylch defnyddiad crefyddol. *

---

* Tybia rhai mai anaddas yw canu dim ond testunau o fawl i Dduw, ond y mae hyny yn wallus, a'r achos o hono ydyw, eisiau

Pan y meddyliom beth yw dyben defnyddiad cerddoriaeth eglwysig—sef effeithioli syniadau crefyddol, duwioli y tymherau, a dyrchafu y galon o'r ddaear i'r nefoedd—pan yr ystyriom hyn, meddaf, nid anhawdd yw penderfynu beth a ddylai, a pheth na ddylai ei gynwys; a pheth yw, a pheth a ddylai fod ei harddull priodol ei hun.

Yn mlaenaf, y mae yn amlwg na ddylai gyfranogi yn y mesur lleiaf o un rhyw o gerddoriaeth wladol.

Y mae y gosodiad yma ynddo ei hun mor amlwg a phenodol, fel yr ymddengys ar y cipdrem cyntaf yn oferedd i ni golli amser i'w egluro a'i brofi yn mhellach.

Ac felly y byddai yn mhob golygiad, oni bae fod anwybodaeth mawr am wir natur cerddoriaeth, a llygriad neillduol yn chwaeth yr oes. Eto oll, anaml y ceir neb un nad yw yn feddiannol ar ddigon o chwaeth a theimlad, fel y gallo wahaniaethu rhwng rhai rhywiau o gerddoriaeth wladol ac eglwysig; a chanfod yr anmhriodoldeb o ddefnyddio y flaenaf mewn addoliad dwyfol. Pwy a hoffai glywed yr un gynulleidfa grefyddol yn canu yr hen alaw Gymreig, '*Glân meddwdod mwyn*,

---

ystyried mai dyben canu yw argraffu ar y meddwl a'r teimlad syniad addas ac effeithiol am destun y gân. Nid yw canu ynddo ei hun yn dynodi gorfoledd yn fwy nâ thristwch, na mawl yn fwy nâ gogan. Rhaid i natur y gerddoriaeth ateb i natur y testun.

Gwir fe sonir yn aml ac yn gyffredin iawn yn y Beibl am foliannu Duw mewn cân; ond cofier mai mawl oedd y testun. Ac nid ydym i gasglu oddiwrth hyny nad oedd dim canu addas a buddiol yn yr eglwys gynt, ond y cyfryw ganiadau. Ond yn y gwrthwyneb—cynghora yr Apostol yr Ephesiaid, pen. v. 19, a'r Colosiaid, iii. 16, i ganu Psalmau, Hymnau, ac Odlau ysbrydol. Psalmau, o *Psalmos*, Groeg, a arwyddent ganiadau âg offerynau llinynawg cerdd—Hymnau, o *Hymnos*, a ddynodent ganiadau o fawl â lleisiau—ac Odlau, o *Ode*, a gynwysent ganiadau ar amrywiol destunau; megys athrawiaethol, prophwydoliaethol, hanesiol, &c.; er hyny, yr oeddynt i fod o fewn cylch yr eglwys yn *ysbrydol*.

er ei bod yn un o'r darnau goraf yn yr holl fyd o'r arddull gwronaidd? Byddai defnyddiad y gyfryw erddygan yn sicr o alltudio pob teimlad a drychfeddwl crefyddol ac ymostyngar oddiwrth bob gwrandawr, a'i lanw, yn y gwrthwyneb, âg ysbryd eithaf eofn a gwladol, yr hyn a fyddai yr anferthwch a'r gwrthuni uwchaf yn y cyfryw le. Nid llawer gwell, na dim yn wir, fyddai '*Nos galan,*' er ei bod yn gynddrych rhagorol o arddull hawl ac ateb, yn nghyda lluaws ereill a allesid eu nodi. Meddyliwyf nad oes neb yn Nghymru, boed ei wybodaeth gerddorol yr hyn y bo, na theimlai wirionedd fy sylwadau yn hyn, ac na chydunai â fi yn y casgliad a wnawn—sef mai aamhriodol y defnyddiad. Y rheswm am hyny ydyw, fod yr erddyganau a nodwyd yn cynwys gwir gerddoriaeth, ac yn eithaf darluniadol o'u rhywiau.

Yn awr, y mae yr addefiad yma, o angenrheidrwydd, yn cyfiawnhau fy ngosodiad am bob rhyw o gerddoriaeth wladol; o herwydd ar yr un tir y gwrthodir y naill a'r llall, sef eu natur a'u heffeithiau. Os ydym i ymwrthod â phob erddygan wronaidd, o herwydd ei heffeithiau; paham hefyd nad ydym i ymwrthod â phob un oferwag, o herwydd ei heffeithiau? A oes rhyw briodoldeb mewn dwyn seiniau llygredig y Saeson,* i dŷ Dduw, yn fwy nâ seiniau gwladgarol ein gwroniaid gynt? A oes rhyw addasrwydd yn y chwareudy anfad a masweddol Saesonig, i'w gyrchu i'r capel, yn fwy nag yn yr eisteddfod a'r orsedd Gymreig?† Dir yw nad oes. Gan hyny, rhwym-

* Na feddylied y darllenydd fy mod yn golygu yma, mai llygredig yw holl gyfansoddiadau y Saeson; pell wyf o feddwl hyny—gwn yn amgen. Ond cyfeiriwyf uchod at y dylanwad a'r effaith y mae eu caniadau gorwag wedi ei gael, ar gyfansoddiadau yr oes hon yn gyffredin: fel y mae yn amlwg i bawb sydd yn deall ychydig.

† Nid eisteddfodau a gorseddau yr oes hon a feddylir; canys coegni, ffoledd, a'r cyfryw, sydd yn llanw rhieni.

ir ni i ymwrthod â phob seiniau gwag a rhodresgar, yn gystal a rhyfelgar neu wronaidd, yn ein herddyganau eglwysig.

O bob rhyw o gerddoriaeth wladol, rhaid addef mai yr un oferwag ganiadol sydd yn llygru fwyaf ar gerddoriaeth eglwysig yr oes hon. A mi feddyliwn fod y rheswm am hyny yn ddeublyg: Yn gyntaf, gan mai y cyfansoddwyr o'r athrylith mwyaf yn mhlith y Saeson, &c., sydd yn gweini i'r chwareudai, &c., y mae, fel y mae yn naturiol meddwl, y gyfryw gerddoriaeth yn fwy perffaith yn ei rhyw, nag unrhyw gerddoriaeth arall; a'r canlyniad yw, fod y rhyw a'r arddull yma yn effeithio yn fawr ar gerddoriaeth yr oes. Efallai fod yn anhawdd gan y darllenydd gredu, fod ffrwd fawr yr athrylith gerddorol yn cael ei throi bron yn gyfan-gwbl at gyfansoddiadau o'r natur a enwyd. Ac y mae y defnyddiad cyffredinol sydd ar y cyfryw gyfansoddiadau yn mhlith ein cymydogion, wedi effeithio yn fawr ar eu harchwaeth—mor fawr, fel mai anaml iawn y ceir gafael ar erddygan gyhoeddedig yn eu plith, sydd yn cyfateb yn gywir i arddull cerddoriaeth eglwysig. Yr ail reswm ydyw, fod yr anwybodus, yr hwn nad yw yn deall iaith sain, yn cymeryd y fath oferedd fel prif ragorion y gelfyddyd Tybia fod ganddo y gwir oleuni, pryd mai *Jack-with-a-lantern* ydyw yn ei arwain i'r ffos. Hyn a gymhellodd gannoedd o gyfansoddwyr i anrhegu y byd â'u ffoleg, yr hyn a'u profent tu hwnt i bob dadl, yn eithaf anwybodus am natur a chyneddfau cerddoriaeth. Yr un peth hefyd sydd yn dallu lluaws o gynulleidfaoedd Cymru i ddefnyddio ofersain dan yr enw cerddoriaeth. Nid oes dim a foddhâ rhai ond rhigymau gwyllt a disynwyr.

Yn nesaf, dylid cadw cerddoriaeth eglwysig yn wahanedig a glân oddiwrth gerddoriaeth foesol. Mae yn wir

nad ymddengys y gwahaniaeth rhwng y ddau ryw yma mor amlwg a phenodol, ag yr ymddengys rhwng y wladol a'r eglwysig. A gellir dywedyd fod yr arddull syml mewn cerddoriaeth foesol ac eglwysig, yn rhedeg megys y naill i'r llall, fel mai anhawdd penderfynu pa le y mae un yn dechreu a'r llall yn diweddu. Eto i gyd y mae i bob un o'r rhywiau ei swydd benodol a'i effaith benodol; ac hawdd yw olrhain y gwahaniaeth a theimlo amrywiaeth eu dylanwad, oddieithr yn unig yn y lle soniedig.

Dylai cerddoriaeth eglwysig sefyll yn debyg yn yr un berthynas â cherddoriaeth foesol, ag y saif pregethau â darlithiau ar destunau moesol ac athronyddol. Dyben mawr pregethu yw dwyn gwirioneddau crefydd i'r goleuni—eu dangos yn eu pwysfawrogrwydd i'r deall, a'u gwasgu at y galon—a thrwy hyny gwneyd y gwrandawwyr yn well dynion. Gan hyny, gwir nodeb pregethu yw bod yn oleu, yn syml, ac yn ddarbwyllus, mewn cydffurfiad â iaith ac arddull yr ysgrythyrau. Ond mewn darlithiau y mae yn angenrheidiol (fel y bo natur y testun) dwyn i mewn enwedigaethau celfyddydol — ymadroddion athronyddol—a'r ymresymiadau mwyaf dyrys yr hyn a fyddai yn dra anaddas yn yr areithfa efengylaidd. Y mae yn wir y gall gwaith rhyw bregethwr athroniaethus yn ymdrin â phwnc athronyddol beri i'r anwybodus ei ganmawl a'i fawrygu, a denu rhai ereill i'w ddylyn. Ond nid ellir twyllo y dyn fyddo â'i chwaeth wedi ei ddiwyllio. Pe yr ymdriniai y pregethwr âg elfenau athroniaeth naturiol yn eu cyfaddasiad at un rhyw un o'r gwyddoregau, megys daiareg, seryddiaeth, a'r cyffelyb, canfyddid yr anmhriodoldeb yn ddigon amlwg, a byddai yn annerbyniol gan bawb yn gyffredin.

Ond pan yr ymdrinir â chrefydd ar egwyddorion ath-

roniaeth, neu mewn arddull athronaidd; twyllir yr anwybodus a'r hanner dysgedig i dybied fod y pregethwr yn un mawr a deallus. Neu, talir yr un parch iddo gan y cyfryw os bydd ei eiriau yn ddigon tywyll a chynffonog. Gwir, y dylai y pregethwr fod yn ddysgedig, a rhyfyg ac anystyriaeth mawr yw'r achos fod neb yn anturio at y gwaith heb raddau o wybodaeth a dysg yn mhob cangen sydd yn wir angenrheidiol. Ond dylai y pregethwr ddefnyddio ei ddysg i ddwyn gwirioneddau crefydd at ddeall y cyffredin; a dylai ei iaith a'i arddull gyfateb i'r gwrandawyr. Mae'n wir na ddylai ddefnyddio ymadroddion ffol a gwag, neu iaith isel a llygredig,—byddai hyny yn anfri ar fawredd ac urddas y lle; eto, dylai symlrwydd ac eglurder deyrnasu yn ei holl ymadroddion.

Gellir dywedyd yr un modd hefyd am gerddoriaeth. Y mae yn wir y gellir twyllo yr anwybodus i raddau pell yn hyn eto—ond nid felly y manylgraff a'r cyfarwydd. Y mae rhai cynulleidfaoedd crefyddol yn Nghymru wedi bod yn euog o ddwyn erddyganau yn rhan o'r addoliad, mor anaddas (a mwy) a phe buasai y pregethwr yn traddodi darlith athronyddol yn lle pregeth. Beth debygai y darllenydd am *Seiniwch y Dympan, Hyfryd,* y Saeson; neu *Ar hyd y Nos,* y Cymry; a'r cyffelyb? Ai tybed bod rhyw rai mor anwybodus a barnu y rhai hyn yn deilwng i'w canu yn nhŷ Dduw? Ofni yr ydwyf fod. Ond na feddylied y darllenydd fy mod yn barnu y fath yma yn annheilwng o ddefnyddiad; y maent yn addas mewn cyfarfodydd moesol a daionus, megys y Beibl Gymdeithas, y Gymdeithas Ddirwestol, y Gymdeithas Genadol, &c.; ond gwadu yr wyf eu bod yn addas yn addoliad y gwir Dduw. Y maent yn mhell o fod yn cynwys nodeb teilwng i'r fath ddefnyddiad. Y

nodeb a ymddengys i mi yn briodol i wir natur cerddoriaeth eglwysig, yw difrifwch a theimlad. Y mae natur sobr testunau y gerddoriaeth, yn gofyn difrifwch; a'u pwysfawrogrwydd yn gofyn teimlad. Y mae o'r pwys mwyaf gyfaddasu y rhai hyn yn iawn, ac y mae yn gofyn medrusrwydd ac ymarferiad. Pan bydd difrifwch yn goruwchreoli, bydd y cyfansoddiad yn rhy farw; a phan y bydd yn amddifad o hyny, bydd yn rhy ysgafn. Y mae un yn tueddu i fod yn ddieffaith, a'r llall i fod yn rhy wag. Rhaid i undeb y ddau gael ei fyfyrio gan y cyfansoddwr fel y pwnc o'r pwys mwyaf iddo, er ei alluogi i gynyrchu iawn gerddoriaeth eglwysig.

Dywedwyd o'r blaen mai symledd yw gwir arddull cerddoriaeth eglwysig. Ond na cham ddealled yr efrydydd, a meddwl ein bod wrth hyn yn golygu na ddylai dim mawredd fod ynddi. Od oes mawredd a nerth yn deilwng i ryw gerddoriaeth, diau mai yr un eglwysig a ddylai fod felly. Os bydd y testun yn gofyn, caniatair yr holl fawredd a nerth a gyfranodd *Handel* erioed yn ei gyfansoddiadau gorchestol; ond nid yn yr un arddull —rhaid gwisgo y cyfansoddiad â symledd *Arne*.

Rhaid i'r cyfansoddiad ymsymud yn yr arddull hyny sydd yn alluog i gynyrchu teimladau teilwng i fawredd a phwysigrwydd y gwaith o addoli—a chyfateb i symlrwydd a phrydferthwch gwir gristionogaeth.

ADRAN III.— GERDDORIAETH EGLWYSIG GYMREIG.

Ar ol sylwi yn fyr fel hyn ar gerddoriaeth, a cherddoriaeth eglwysig, dygir ni yn awr i draethu ychydig ar gerddoriaeth eglwysig Gymreig. Y mae yn amlwg i bob cerddor lled wybodus sydd wedi ymarferyd â, a dal sylw ar, gyfansoddiadau gwahanol wledydd ac oesoedd, fod rhyw neillduolrwydd penodol yn arddull cerddoriaeth

gwahanol genedloedd, sydd yn eu gwahaniaethu y naill oddiwrth y llall. Yr oedd rhyw neillduolrwydd gynt yn ngherddoriaeth yr *Hebreaid*, y *Groegiaid*, a'r *Rhufeiniaid*, &c; ac y mae rhyw neillduolrwydd i raddau* eto yn eiddo y *Saeson*, yr *Eidaliaid*, yr *Ellmyn*, &c., a'r neillduolrwydd yma yn ngherddoriaeth y *Cymry* fydd testun ein hymddyddan presenol. Nid wyf yn amau yn y gradd lleiaf nad oes lluaws o gerddorion yn Nghymru a edrychant ar hyn fel peth yn deilliaw o benboethni, ac yn annheilwng o sylw. Ac os dichon i'r sylwadau hyn syrthio i ddwylaw rhai o honynt, neu eu cyffelyb, dymunwn iddynt fod yn araf yn eu penderfyniad, a chymeryd hamdden i ystyried a myfyrio y pwnc yn fwy manwl. Yr wyf yn hollol o'r farn nad oes gan y cyfryw syniadau eang mewn cerddoriaeth. Beth bynag yw eu gallu yn y rhan ymarferol (yr hyn sydd yn twyllo llawer i feddwl yn fawr am danynt eu hunain), nid ydynt eto yn canfod enaid y wybodaeth; a llai o lawer y gwyddant am wir berthynasau a ffynnon cerdd — iaith, barddoniaeth, a theimladau y natur ddynol.

Os oes rhyw neillduolrwydd yn ein cerddoriaeth genedlig, diau y dylem fod yn awyddus i'w gadw a'i faethrin. Dylai ei rhagoroldeb ein cymhell i hyn. Od oes rhyw berthynas a thebygolrwydd arbenig rhwng arddull cerddoriaeth unrhyw genedl, a nodeb y gyfryw genedl, rhaid fod y gerddoriaeth hòno iddynt hwy yn fwy effeithiol nâ cherddoriaeth unrhyw genedl arall. Y mae hyn yn unol â rheswm a ffaith. Nid oes gan yr un gerddoriaeth gymaint o ddylanwad ar unrhyw genedl o ddynion, a hòno sydd yn llefaru wrthynt yn eu harddull

* I raddau meddaf, am fod eu harddull yn annhenodol a chymysglyd i raddau mawr—yn ol fel bo rhyw gyfansoddwr galluog o rhyw genedl yn tynu sylw, ac yn denu chwaeth yr oes.

eu hunain. Felly yr un modd, gellir dywedyd am genedl y Cymru yn unigol. Rhaid fod y gerddoriaeth hono yn fwy effeithiol ac yn fwy rhagorol iddynt hwy nag unrhyw gerddoriaeth wahanol—yr hon a siarada eu syniadau a'u teimladau, yn y dull a'r agwedd sydd yn fwyaf naturiol iddynt. Hefyd, dylai gwladgarwch ein cymhell at hyn yma. Pell ydwyf o feddwl y dylem goleddu y fath syniadau am ein gwlad a'n cenedl, a fyddai yn rhwystr i ni wellau mewn unrhyw beth daionus; ni byddai hyny yn wir wladgarwch. Ond dylai ein mynwesau gyneu mewn cariad at bob peth sydd yn hanfodol i ni fel cenedl, nad yw ynddo ei hunan yn ddrwg, neu yn rhwystr ar y ffordd i gyrhaedd daioni a fo mwy. Gan hyny, trwy nad oes dim mewn un ystyr yn niweidiol, (ond yn hollol i'r gwrthwyneb,) mewn cadw a gwellau hen arddull cerddoriaeth Gymreig, dylai fod ynom awydd cryf a dibaid i'w myfyrio, ei deall, ei harferyd, a'i chadw, tra bo Cymro, Cymru, a Chymraeg.

Wrth chwilio y pwnc dan sylw, bydd yn angenrheidiol i ni ystyried, yn y lle blaenaf, beth yw achos neu achosion y neillduolrwydd yma, sydd yn ffurfio nodeb cerddoriaeth gwahanol genedlaethau.

1. Ymddibyna nodeb cerddoriaeth unrhyw genedl i raddau helaeth ar nodeb *iaith* y genedl.

Y mae hyn yn ffaith amlwg ac anwadadwy ; pa un bynag a wnawn ai edrych arno yn mhlith yr henafiaid neu ynte cenedloedd diweddar—ac a gydnabyddir felly gan yr enwogion. Ond y pwnc sy genym ni i ymwneyd âg ef yn awr ydyw, nid profi gwirionedd o hyn drwy ffeithiau hanesyddol, ond ystyried yn mlaenaf ar ba egwyddor y mae hyn yn ymddibynu—ac wedi hyny, beth yw nodeb yr iaith Gymreig.

Yn gyntaf, mi feddyliwn mai yr egwyddor ar ba un yr

ymddibyna nodeb cerddoriaeth ar nodeb iaith, ydyw y berthynas hanfodol sy rhyngddynt—hyny yw, rhwng cerddoriaeth ac iaith. Mae'n wir fod y gosodiad ynddo ei hun yn dangos cysylltiad o ryw natur, canys nis gall dibyniad fod ond lle bo cysylltiad; ond yr ydym yn golygu fod yma, nid yn unig gysylltiad, ond hefyd berthynas hanfodol ac anwahanadwy. Yn awr y mae berthynas hon yn driphlyg—sef â seiniau unigol iaith, â pheiriannwaith iaith, ac âg arddull iaith. Y mae pob iaith yn cael ei gwneyd i fyny o nifer benodol o seiniau elfenol a chyntefig, a elwir llythyrenau.* Ac y mae ansawdd llythyrenau iaith unrhyw genedl yn effeithio ar gerddoriaeth y genedl, yn gystal ag ar yr iaith ei hun. Eglurir athroniaeth y pwnc fel hyn—y mae arferiad y peiriannau ymadrodd â'r seiniau hyn, yn ffurfio chwaeth yn y crebwyll at seiniau o gyffelyb ansawdd a gallu. Nid rhaid i ni ymosod i brofi fod effaith a dylanwad gan arferiad, lle bo cymhwysder rhagflaenol at y gyfryw arferiad—y mae hyny yn ddigon amlwg ac hybrawfus. Ond ein gorchwyl presenol yw dangos y saif hyny yn ei gysylltiad â sain. Nid ydym yn golygu fod perthynas uniongyrchol rhwng y peiriannau lleisiol a'r seiniau elfenol yma,—ac o ganlyniad, nid y llais fel y cyfryw sydd yn effeithio ar y crebwyll. Eithr rhwng y peiriannau ymadrodd † a'r seiniau y mae y berthynas—gan hyny effeithia y seiniau ar y crebwyll fel y maent yn elfenau iaith. Nid rhwng y peiriannau a'r crebwyll y mae y berthynas yn bod, nac

---

* Neu yn fwyaf priodol, *arwyddion* y seiniau hyn yw y llythyrenau.

† Y mae gwahaniaeth rhwng y peiriannau *lleisiol* a *seiniol*. Y peiriannau lleisiol ynt y rhai hyny drwy ba rai yr ydym yn cynyrchu sain ynddo ei hunan, yr hyn a elwir llais—sef y bibell wynt a'i chybyrau. Y peiriannau seiniol ynt y rhai hyny drwy ba rai yr ydym yn troi y sain yma i elfenau a geiriau iaith—sef y tafod, y dannedd, y gwefusau, yr *uvula*, a'r gorcharfau.

ychwaith rhwng gweithrediad y peiriannau a'r crebwyll; eithr rhwng y seiniau a gynyrchir. Gan hyny, mynychiad y sain fel elfen iaith sydd yn effeithio ar y chwaeth. Dyma y gallu cyntaf sydd â dylanwad ganddo i neillduoli cerddoriaeth genedlig unrhyw wlad.

Yn nesaf ymddibyna y gerddoriaeth ar beiriannwaith yr iaith. Ymddibyna hyn ar y llywodraeth sydd gan iaith ar gerddoriaeth, yn yr ymarferiad. Pe buasai cerddoriaeth yn beth hollol wahanedig oddiwrth iaith, ni buasai gan seiniau iaith unrhyw ddylanwad ar seiniau y gerddoriaeth—buasai seiniau yr iaith yn cael eu cyfyngu yn unig at y crebwyll, fel y sylwyd. Ond gan fod, ac y dylai fod, y cysylltiad a soniwyd, y mae o bwys i gerddoriaeth unrhyw genedl beth yw gallu seiniol eu hiaith.

Y mae perffeithrwydd peiriannyddol iaith yn ymddibynu ar amrywiaeth ei seiniau, a'u priodoldeb i amlygu ac egluro y pwnc y cymhwysir hwy ato. Gan hyny rhaid eu bod yn cynwys amrywiaeth yn ei helfenau—gallu cyfnewidiol yn ei llythyrenau—yn nghydag acen rheolaidd, er ffurfio a chadw mydyr priodol yn yr iaith. Yn y cyneddfau angenrheidiol hyn, saif ein hiaith ni gyda'r flaenaf (os nad y flaenaf oll) o ieithoedd byd adnabyddus. Yn wir, mi feddyliwyf fod amgylchiadau ein henafiaid yn eu sefyllfaoedd cymdeithasol yn y dyddiau gynt, yn eu rhwymo yn neillduol i sylwi ar yr holl bethau hyn. Yr oeddynt yn byw yn barhaus yn dyrfaoedd; a phob mater o bwys a benderfynid gan y gynulleidfa—ac yn nesaf at rym ei fraich, teimlai pob rhyfelwr ei hun yn ddyledus i ddylanwad ei dafod. Yr angenrheidrwydd beunyddiol o ddefnyddio grym areithyddiaeth mewn cysylltiad â'r llywodraeth wladol—yn nghyd â'r cysylltiad pwysig oedd rhwng eu barddoniaeth a chrefydd a moes;

a'u rhwymai i gadw a pherffeithio mydyr yr iaith.

Diffyg unrhyw iaith yn y cyneddfau hyn, o angenrheidrwydd a rwymai y gerddoriaeth i fod yn ddiffygiol hefyd. Canys prif sylfaen yr hyn sydd yn firain mewn cyfansoddiad, yw cyfnewidiad seiniau yr iaith—a phrif sylfaen yr hyn sydd yn fawreddus, yw nerth yr iaith.

Oddiyma y deillia y ffaith, mai nerth afrywiog ac anfwyn yw prif nodeb cerddoriaeth pob cenedl, lle bo diffyg llafariaid yn eu hiaith. Ac o'r tu arall, lle bo yr iaith yn ddiffygiol o seiniau cryf a gerwinol, bydd y gerddoriaeth bob amser yn wan. Profir hyn yn ddigonol drwy hanesiaeth hen a diweddar.

Yn olaf, dibyna cerddoriaeth ar arddull iaith.

Wrth arddull mewn iaith y meddylir, y dull neillduol a ddewisir i amlygu y meddwl drwy iaith. Y mae yn wahanol oddiwrth yr iaith ynddi ei hun, neu y geiriau. Gall y geiriau fod yn ddifai, eto yr arddull yn wael a gwallus. Y mae rhyw berthynas arbenig rhwng arddull a'r dull o feddwl. Oddi yma y deillia gwahanol arddulliau. Ond gadewch i ni egluro pa fodd y mae cerddoriaeth yn ymddibynu ar arddull iaith. Y rheswm o hyn ydyw, y berthynas sy rhwng cerddoriaeth ac iaith, yn eu perthynas â'r tymherau a'r crebwyll. Er anghraifft, gadewch i ni edrych ar y gallu sy mewn sain nerthol i gynyrchu yr hyn sydd yn fawreddus ac arddunawl. Y mae ymdoriad taran neu fagnel, rhuad gwynt, bloeddiadau mynteioedd, swn rheiydr dirfawr—oll yn wrthddrychau mawreddus. Yn gyffredinol, gallwn sylwi, fod defnyddiad grym a gallu mawr, bob amser yn creu drychfeddyliau arddunawl. Hyn yw yr achos fod y fath wychder mawreddus yn nglŷn â ddaeargrynfäau, a mynyddoedd tanllyd; y môr cynddeiriog; tymhestl o wynt; mellt a tharanau; yn nghyda holl ruthriadau an-

nghyffredin yr elfenau. Nid oes dim yn fwy arddunawl nâ gallu a nerth grymus. Y mae y ffrwd sydd yn rhedeg rhwng ei chorlanau, yn wrthddrych mirain; ond pan y rhuthra i lawr gyda ffyrnigrwydd a thrwst y cenlli, y mae yn dyfod yn union yn wrthddrych arddunawl.

Felly hefyd y mae yr un gallu mewn iaith. Cydnabyddir gan yr ieithydd athronaidd, fod mwy o allu mewn geiriau cyfansoddedigion seiniau gerwinol U, P, R, T, &c., i greu drychfeddyliau arddunawl a mawreddig, nag sydd mewn geiriau cyfansoddedig o'r seiniau lleddf, I B, L, &c. Fel angraifft benodol o hyn, gallwn nodi englyn *Dewi Wyn* i'r rhaiadr :—

Uchelgadr Rhaiadr dwr ewyn,—hydrwyllt,
Edrych arno'n disgyn ;
Crochwaedd y rhedlif cryehwyu,
Synu pensyf danu dyn.

Gadewch i ni ystyried eto, pa gysylltiad sy rhwng sain a'r hyn sydd yn firain. Meddyliwyf mai prif ffynnonell mirefndra neu brydferthwch, yw llyfndra, rheoleidd-dra, arafwch, a'r cyffelyb ansoddion.

Symudiad llyfn yr aderyn trwy yr awyr, sydd yn wrthddrych mirain; ond chwyrndeithiad y fellten, sydd yn fawreddus. Symudiad araf a thyner y ffrwd sydd yn wrthddrych mirain ; ond ei chynydd nes myned yn llif mawr, a'i gwna yn wrthddrych arddunawl. Felly, heb chwanegu angreifftiau, saif ein gosodiad yn mhob cysylltiad, mai sylfaen yr hyn sydd yn firain, yw y cyffelyb a'r a enwyd.

Saif hyn hefyd yn berffaith gyson yn ei berthynas âg iaith. Sylfaen mireinwch yma hefyd, yw llyfndra sain. Yn unol â hyn, cydolyga y prif ieithwyr, fod y seiniau I, B, L, N, &c., yn fwy addas i gyfleu y cyfryw ddrychfeddyliau, nâ'r seiniau gerwinol a nodwyd. Yn wir, nid yn

unig y maent yn fwy addas, ond hwy ydyw unig ffynnon a chyfrwng ieithol, y cyfryw ansoddion. Fel anghraifft o hyn, gallwn nodi englyn y Parch. *Walter Davies* i'r delyn,—

Plethiadau tannau tynion—y Delyn,
I'r dilesg feddylion,
Odlau Saint yw adlais hon,
Llais neu fawl llys nefolion.

Y mae perffeithrwydd iaith, o ran ei gallu i gynyrchu gwahanol arddulliau, ac i fod yn effeithiol at bob math o wybodaeth a drychfeddwl, yn ymddibynu ar amledd ei geiriau—y gwahanol foddau y gellir ei chystrawenu—ac amrywiaeth seiniau ei geiriau, i gyfateb i wahanol wrthddrychau. Yn y golygiad yma, diau y saif y Gymraeg yn enwog, ac yn un o flaenion y byd— hen a diweddar. Canys y mae yn gyflawn fel y môr; yn eang fel y wybr, yn gref fel y daran, yn berseiniog fel y delyn, ac yn felus fel y mêl. Gan hyny, gellid meddwl ar y cyntaf mai amlwg fyddai cyfyngu eu gallu at unrhyw arddull penodol, gan ei bod mor gynwysfawr ac amrywiaethol. Ond ar ymchwiliad teg a phwyllog, ymddengys yn o amlwg mai prif nodeb ein hiaith, ydyw nerth a llyfndra, yn nghyd â'u perthynasolion. Nid oes dim ynddi yn wan, yn blentynaidd, yn fursenaidd, neu yn orwag. Mewn gair, y mae " yn syml, heb fod yn isel; yn hy, heb fod yn ddigywilydd; yn addurnwych, heb gymendod; yn gydseiniol, heb fod yn orwag; yn ardderchog, heb chwyddiaeth; tyner, heb fursendod; a chryf, heb erwinder." *

2. Ymddibyna cerddoriaeth unrhyw genedl ar farddoniaeth y genedl. Deillia hyn oddiar y berthynas sydd rhwng y ddau a'u gilydd. Gallwn edrych ar y berthynas yma yn ddeuplyg—sef yn beiriannol ac yn ansoddol.

Wrth beiriannwaith barddoniaeth y meddyliwyf ei

---

* Geiriau Charles tan y gair iaith,

chyfansoddiad celfyddol. Y mae hyn yn cynwys dau beth—sef acen a gorphwysfäau.

Yr ydym wedi dangos o'r blaen * mai mewn trefniad rheolaidd ein geiriau yn ol eu priodol bwysleisiad neu acen, † y mae prif nodeb cyfansoddiad ein salmau a'n hemynau yn gynwysedig. Ac yr ydym wedi dangos hefyd y berthynas anwahanol sy rhwng corfanau barddoniaeth a banau cerddoriaeth, fel mai afreidiol yw sylwi ar hyny yn bresenol. Am eglurhâd ar y berthynas sy rhwng gorphwysfäau barddoniaeth a cherddoriaeth, rhaid cyfeirio yr efrydydd at ein sylwadau ar gyfansoddiant peroriaeth.

Yn awr, pa un bynag ai rheolaidd ai afreolaidd fyddo barddoniaeth unrhyw genedl yn y golygiad yma, bydd yn sicr o effeithio yr un fel ar y gerddoriaeth. Canys annichonadwy i un symud yn fawsaidd heb y llall—eithr yn y gwrthwyneb; pan y cyfansoddir cerddoriaeth at unrhyw eiriau, fe fydd y duedd hòno at drefn a chyd-

---

* Rhan II. Pen. v.

† Ymddengys i mi nad yw sain hir a byr y sillafau, yn effeithio dim ar ein mydraeth, fel y myn rhai i ni gredu: hyny ydyw, nid yw tân, neu tàn—tânawl, neu tànodd—yn nghyda'r cyffelyb, yn gwneyd dim cyfnewidiad yn y mydraeth. O ran y mydyr, ni waeth dywedyd.

Ton ar don yn denu,<br>nâ<br>Tôn ar dôn yn dênu.

Saif y cyfansoddiad yn ei berthynas â nodwedd y mesur, yn y ddau ffurf fel eu gilydd.

Er fod gwahaniaeth seiniau yn llywodraethu mydraeth rhai o'r ieithoedd henafol, megys y Groeg a'r Lladin, a rhai diweddar, megys yr Hindwaeg; eto, nid dyna nodwedd y Gymraeg; nac y rhan amlaf o ieithoedd y byd, hyd y dalwyd sylw gan ddysgedigion o wahanol genedlaethau a gwledydd.

Ond cofied y darllenydd nad yw y sylwadau yma yn dwyn dim perthynas â'r mesuron caeth, y rhai, yn bresenol, ydynt brif fesurau beirdd Cymry. Y mae y rhai hyny yn sefyll ar seiliau gwahanol—ac hyd y deallwyf, gwahanol i farddoniaeth holl ieithoedd y byd.

ffurfiad, sydd â chymaint o ddylanwad ar y natur ddynol, yn sicr o'u dwyn i gydymagweddiad. Ymddibyna y gerddoriaeth ar ansawdd y farddoniaeth; ac nid oes dim a effeithia yn fwy ar y cerddor medrus, nâ hyn.

Yn un peth, llywodraethir y gerddoriaeth gan *natur y testun*. Lle bo mater y cyfansoddiad yn llywodraethu y meddwl, &c., fel y dylai bob amser, y mae yn amlwg fod gwahanol destunau yn effeithio yn wahanol. Oddiyma y deilliodd y gwahaniaeth rhyw sy mewn cerddoriaeth, sef eglwysig, moesol, a gwladol.

Hefyd y mae *awen* y farddoniaeth yn effeithio ar y gerddoriaeth. Wrth yr awen y meddyliwyf, y nerth meddwl, y teimlad, y swyn, a'r gallu fo ynddi. Y mae hyn yn amlwg pan yr ystyriom fod cyneddfau fel hyn bob amser yn cynyrchu eu cyffelyb.

Y mae o bwys, gan hyny, i'n cerddoriaeth, yn nwylaw pwy fydd ein barddoniaeth; pa un ai gwir feirdd ynte crachfeirdd. Ac yn hyn o bwnc, y mae gan ein cerddoriaeth eglwysig gymaint o fantais ag unrhyw ddosparth arall. Y mae yr enwog Edmund Prys, drwy ei gyfieithiad o'r Salmau, a'r enwog William Williams *

---

* Efallai na chynysgaethwyd yr un genedl erioed er amser peraidd ganiedydd Israel, â gwell Cerddoriaeth eglwysig gan unrhyw awdwr, nag a gafodd cenedl y Cymry gan awen gref y Parch. W. Williams, fel y cana *Seion Lleyn* yn dra phriodol.

*Williams*, enyd wiwlan,
Yn rhodd a gafodd y gân;
Yn fedrus i weddus wau,
A siarad y mesurau;
Fel gwin ei ddyfal ganiad,
Fel y mêl oedd ei fawl mâd,
Dysgleiriach nâ dysgl arian,
Nâ phelydr y gwydr, ei gân.
Diau gwych flodeuog wawd,
A dyfodd ar ei dafawd,
Cantor craff, Asaph oedd,
Iach y molai uwch miloedd.

drwy ei hymnau, &c., wedi ein cynysgaethu â thrysor gwerthfawr o farddoniaeth eglwysig. Ac at y rhai hyn gallasid chwanegu amrai ereill. Ond gwall dirfawr yw llanw ein barddoniaeth eglwysig â chyfansoddiadau di-awenyddol, pwy bynag fyddo yr awdwr. * Ac y mae y dyn hwnw a geisia gyfansoddi erddygan, &c., at y fath hymnau, yn profi ei hun yn bur amddifad o chwaeth. Hyderwn y gwawria y dydd cyn hir, pan y derfydd y cyfryw gamwri.

Yn ddiweddaf, ymddengys i mi fod gan fesur ddylanwad ar gerddoriaeth. Y mae yn lled amlwg i'r sawl sydd wedi chwilio ychydig ar y pwnc, fod addasrwydd mewn gwahanol fesurau, at wahanol achosion. Hyny ydyw, y mae natur cyfansoddiad rhai, yn eu gwneyd yn

---

O ffraethder—effro wythdant,
Nid hyn ei gerdd—tannau gant—
Tannau, a gwrydan gwridawg,
Wedi cael o waed y cawg.
Yn Nghymru ni bu neb iach,
Yn nyddu cerdd fwyneiddiach.

Beth a feddylir am y bawach hyny, na fedrant anadlu gymaint ag un fraich yn reolaidd, ac eto ydynt ddigon hyf i ddryllio a newid gwaith y fath fardd, er ateb yn well i'w dychymygion tywyll eu hunain ?

* Awdwyr hunanol o'r fath yma sydd wedi blino y beirdd er ys blynyddoedd bellach. Ni wawdia y beirdd (ac ni ddylid gwawdio), yr ieuainc, a fyddo mewn ysbryd teilwng yn llafurio i wellau eu hunain, er iddynt fethu cyrhaedd y nod yn aml." Ond yr oferfeirdd, a fynant ystyried eu hunain yn rhyw beth, pryd nad ydynt yn ddim, yw yr achos o'r tuchan a glywir weithiau gan blant yr Awen.

Pybyr wedd, *pawb* a raddwyd !
Pa air waeth ! ai beio 'r wyd ?
A chwyn boen a chnoi, beunydd,
Barddas wael y Beirdd y sydd.—W. CYNWAL.

Byr ddeunydd mewn barddoniaeth,
Barddas wir heb urddas aeth !—E. PRYS.

Llawer cyfyngder a fu—i'n cenedl,
  Mae cwynion trwy Gymru,
  Fod dynion llymion yn llu,
  Diddysg—*Pawb* yn prydyddu.—D. IONAWR.

fwy addas at destunau hardd a chanmoladwy, nag ereill—ac yn y gwrthwyneb, y mae ereill yn fwy addas at destunau mawreddus ac arddunawl. Felly, y mae rhai mesurau yn addas i destunau crefyddol, ac ereill yn anaddas. Yr un fath hefyd y mae gan y mesurau hyn eu gwahanol effeithiau ar y gerddoriaeth. Y mae yn wir nad oes gallu mewn un rhyw penodol o fesurau, i sicrhau cymeriad cerddoriaeth y genedl, na chan y farddoniaeth yn yr oll o honi. Ond y mae symlrwydd natur ein barddoniaeth eglwysig, yn ei holl fesurau, yn dra addas i ansawdd y genedl, ac yn cyduno â phethau ereill i neillduoli ein cerddoriaeth.

3. Y mae cerddoriaeth unrhyw genedl, yn ymddibynu yn fawr ar *dymherau* y genedl. Y mae prawfiadau digonol o hyn mewn hanesiaeth hen a diweddar. Ac onid yw yn rhesymol meddwl, fod delw nwydau a thymherau dynion, yn argraffedig ar eu holl gyfansoddiadau teimladol? Yr oedd tymherau aflywiog yr Aiphtiaid yn eu hanalluogi i gynyrchu cyfansoddiadau melus a denol, pryd yr oedd y Groegiaid yn dangos yn amlwg yn eu cyfansoddiadau, eu bod wedi eu diwyllio â syniadau athronaidd. Cyfansoddiadau y Gothiaid oedd yn hynod o ryfelgar, yn anadlu dim ond dinystr a difrod. Ond yn y gwrthwyneb, cynwysa eiddo y Perufiaid a'r Chineaid, mwyneidd-dra a dengarwch. Ein cerddoriaeth henafol ninau, hefyd, sydd o ansawdd rhyfelgar a gwronaidd yn benaf, er ei bod yn gymysgedig â rhywiau ereill, ac yn dangos yn eglur ei bod yn ffrwyth meddyliau diwylliedig.

Yr ydym wedi dangos eisioes, fod cysylltiad agos a hanfodol rhwng seiniau cerddoriaeth a theimladau y natur ddynol; ond byddai yn angenrheidiol ysgrifenu cyfrol, o leiaf, i egluro y pwnc yn ei fanylwch, yn ei holl

gysylltiadau athronyddol. Y mae y ffaith ynddo ei hunan mor amlwg ac hybrawfus, fel nad oes angenrheidrwydd i ni ymhelaethu.

4. Gallwn sylwi yn ddiweddaf, fod dylanwad gan *arferion* cenedl, ar gerddoriaeth a barddoniaeth y genedl. Y mae yn wir fod gan arferion cenedl law rymus mewn galw nwydau y genedl i weithrediad, ac i sefydlu rhyw brif nwyd neu nwydau yn lywodraethol; ac felly gellir golygu y ddau bwnc diweddaf hyn, mewn ystyr, yn anwahanol â'u gilydd.

Ymddengys fod hyn eto yn dra amlwg yn ngwyneb rheswm a ffaith. Ni welwyd yr un genedl erioed yn ymarfer llawer â gorchestion rhyfelgar a gwronaidd, nad oedd difrod a galanas yn anadlu yn ei holl gyfansoddiadau. Ac o'r tu arall, lle byddo cenedl yn ymhyfrydu mewn heddwch—mewn celfyddydau dyngarol—ac mewn diwylliadau moesol a meddyliol, bydd argraff amlwg o hyny, yn hynawsedd ei chyfansoddiadau.

Wedi agor y drws fel hyn i'r efrydydd fyfyrio ar wahanol gysylltiadau cerddoriaeth genedlig unrhyw wlad, gadewch i ni yn awr sylwi yn fyr ar brif nodebau neu neillduolion Cerddoriaeth Gymreig.

Yn awr, meddyliwyf y gellir cynwys y cwbl yn y gosodiad, ei bod yn gerddoriaeth naturiol iawn. Nid cerddoriaeth wedi ei hadeiladu ar gywreinion celfyddyd ydyw; ond tywalltiad naturiol a diaddurn yr awen. Ond i fod yn fwy neillduol.

1. Y nodeb blaenaf a ymddengys i ni ynddi ydyw *nerth*.

Nis gall neb ammau y gwirionedd yma, sydd wedi dal ychydig o sylw ar gerddoriaeth yr hen Gymry; hyny ydyw, nis gellir gwadu, mewn un modd, nad yw ein hen gerddoriaeth yn hynod o rymus, ac yn dra galluog i gy-

nhyrfu teimladau gwronaidd, ac i raddau yn fawreddus ac arddunawl.

Yr oedd hyn yn hanfodol i'r athrylith Gymreig, yn mlaenaf, o herwydd yr iaith. Y mae yn amlwg i'r sawl sydd wedi dal sylw ar gyfansoddiad y Gymraeg, ei bod yn iaith seingar a grymus, yn ei geiryddiad a'i chystrawen; fel y crybwyllwyd o'r blaen.

Yn awr yr oedd yn eithaf naturiol i'r sawl a gynhyrfid i gyfansoddi i genedl y Cymry, ac heb fod dim tuallan i Gymreigyddiaeth yn effeithio ar ei awen, i'w throi i'r fan hyn neu y fan arall, iddo gydymagweddu â neillduolrwydd yr iaith Gymreig—i'w gyfansoddiad gydredeg â'i phriod-ddull—a'i bywhau â'r un yspryd. Mewn gwirionedd, yr oedd yn annichonadwy iddo fod yn wahanol.

Yn ail,yr oedd hyn yn angenrheidiol o herwydd barddoniaeth y Cymry. Heblaw y dylanwad sy gan yr iaith fel y cyfryw yn y farddoniaeth, y mae natur nerthol ein mydyr yn chwanegu at y grym. Y mae rheoleiddiwch acen yr iaith, nerth ei chydseiniaid, a chyfnewidiad ei llafariaid, yn gwneyd ei barddoniaeth yn bur rymus.

Yn drydydd, gadewch i ni ystyried gwrondra a bywiogrwydd tymherau y Cymry, cawn reswm eto am rymusder a nerth ein cerddoriaeth.

Yn olaf,ac yn hollol gydunol â thymherau y Cymry, yr oedd eu harferion hefyd â dylanwad neillduol ar nerth eu cerddoriaeth.

Yr oedd eu dull o fyw, a chynal campiau a chwareyddiaethau yn yr awyr agored, eu cyflawniadau crefyddol, yn nghyda'u holl ddefodau, yn tueddu yn fawr at rymusder corph a meddwl. Ac os chwanegwn at hyn, yr holl ymarferiadau caniadyddol oedd yn eu plith, nid yn unig gyda chrefydd, dan y dderwen gauadfrig, ac a

flaen yr allor fygedawg, neu yn eu teuluoedd, mewn cerdd arwest a chyda'r delyn; ond clywid y bugail ar ael y bryn yn pyncio ei gerdd naturiol, ac atebid ef gan y laethwraig ar y ddol is law, mewn acenion gwir deimlad a nwyd. Yr oedd hyn oll, meddaf, yn tueddu yn hanfodol at nerthu a grymuso cerddoriaeth y genedl.

2. Yr ail nodeb a ymddengys i ni ydyw *teimlad.*

Ymddengys i mi nas gellir cyfyngu hyn at ddim a berthyn yn unigol i'r Cymry fel cenedl; ond gall y naill fel y llall ei feddiannu. Eto rhaid addef fod llawer o fantais gan y Cymry yn eu harferion, &c., i goleddu hyn yn fwy nâ nemawr o genedloedd diweddar.

Y brif a'r unig ffynnon i deimlad mewn cerddoriaeth, yn gystal ag mewn cyfansoddiadau ereill, yw, fod y cyfansoddwr dan ddylanwad ei hun pan yn cyfansoddi.

Nid peth anhawdd yw nodi allan a gwahaniaethu unrhyw gyfansoddiad a gynyrchwyd pan oedd yr awdwr dan ddylanwad o'r pwnc, oddiwrth y cyfansoddiadau a gynyrchwyd pan nad oedd y cyfansoddwr felly. Y mae un yn fyw, ac yn peri teimlad; a'r llall yn farw, ac yn ddideimlad. Y mae un â'i law ddirgelaidd yn agor holl ddorau y fynwes; a'r llall yn methu â myned yn mhellach nâ churo y ddôr. Y mae un yn llefaru wrth yr ysbryd trwy y glust, a'r llall wrth y glust yn unig. Y mae un yn gorph a bywyd ynddo, a'r llall yn gorph marw. * Gan hyny, rheol sylfaenedig ar natur ydyw, fod yn rhaid i'r sawl a fyno i ereill deimlo oddiwrth ei gyfansoddiad, deimlo ei hunan wrth gyfansoddi. Os mynir llefaru *wrth* y galon, rhaid llefaru *o'r* galon. Fel y dy-

* Y dywedyd goraf a ellir am gyfansoddiad nad oes ynddo enaid y pwnc yw, mai corph ydyw—os bydd yn rheolaidd o ran peroriaeth a chynghanedd. Ond pa faint a welir yn ein gwlad heb reol nac arall! y mae y cyfryw yn deilwng o'r enw *ysgerbwd.*

weledd yn eglur, oedd yn deall y natur ddynol yn dda, "Os wyt am weled i ereill wylo, rhaid i ti wylo dy hun."

Yn awr, dyma y dirgelwch paham y mae cyfansoddiadau ein henafiaid mor effeithiol. Yr oeddent yn teimlo y pwnc oedd ganddynt i'w ddatganu i ereill. Yr oeddent yn ymweithio i natur ac ysbryd y testun; ac felly, yr oedd eu cyfansoddiadau yn sicr o gyffwrdd y galon.

Nid ŷm yn dywedyd fod hyn yn gymeradwy i gyfansoddiadau Cymreig, ond y mae athrawiaeth yn seiliedig ar natur ddynol. Eto, addefir yn rhwydd fod gan amgylchiadau a dullion gwlad ddylanwad grymus i gyfnewid agwedd hen y teimladau—ac i neillduoli a chryfhau rhyw dueddiadau neillduol mewn cenedl. Ac felly ymddengys fod arferion a defodau y Cymry yn dra manteisiol i'w holl gyfansoddiadau fod yn wylofus.

Ymddengys hefyd, mai o arferion y genedl y deilliodd y chwaeth ynddynt i fod yn fwy hoff at un cywair na'r llall. Hyd y darfu i ni ddal sylw, y mae cywair lleddf yn fwy effeithiol i'r Cymro nâ'r cywair llon. Y mae hyn yn deilliaw o arferion hir-barhaus, ond odid, megys canu mewn angladdau a'r cyffelyb. A gallwn chwanegu, fod ein dull o fyw fel cenedl, yn tueddu yn fawr i leihau nwyf ein cyfansoddiadau, yn neillduol yn y cywair llon. Y mae galwedigaethau y genedl yn gyffredin yn eu cadw yn ormodol o'r awyr agored—yn eu cilio oddiwrth arferion diniwed ac angenrheidiol, o herwydd y llygredd oedd yn nglŷn â hwy—bwyta ac yfed yr hyn sydd â thuedd ynddynt i drymhau y galon—yn nghyda lluaws o bethau * sydd yn gwanhau ac yn

* Gwel Hyfforddwr yr Efrydydd, gan awdwr y Grammadeg hwn, lle yr eglurir y pwnc yn helaeth.

lleddfhau y corph a'r meddwl. Cryfhäir ein gosodiad yn fwy pan yr adgofiwn fod ein hen alawon yn gyffredin yn y cywair llon.

Y nodeb diweddaf a nodwn, yw *symledd.*

Nis gall neb edrych ar gerddoriaeth y Cymry, heb ganfod yn amlwg fod eu cyfansoddiadau yn hynod o syml. Ac wrth chwilio i'r achos o hyn, debygem ei fod yn ddeublyg.

Un rheswm ydyw, ymddengys nad oeddent wedi myfyrio y pwnc yn wyddorol ac athronyddol; ac felly nid oeddent yn llanw eu cyfansoddiadau â chelfyddyd.* Gellir gweled hyn yn amlwg oddiwrth yr alawon sy genym wedi gweddillio ac aros hyd heddyw. Y maent o nodwedd hollol wahanol i'r rhai sydd wedi cynyrchu drwy a'u gorlwytho â chelfyddyd. Y maent yn debycach i'r rhai a esgorwyd gan natur. A pha le bynag y canlynir natur yn gywir, nid oes perygl methu. A pha bryd bynag y dygir y gelfyddyd gerddorol tu hwnt neu groes i natur, y mae hyny yn wallus.

Y rheswm arall dros symledd ein cerddoriaeth ydyw, ei bod yn iaith y teimlad. Neu mewn geiriau ereill, y

---

* Na feddylied y darllenydd ein bod am haeru nad oedd ein henafiaid yn wybodus o gerddoriaeth; ac nad oedd y ddawn yn cael ei myfyrio ganddynt fel celfyddyd er yn fore: ond yn hytrach gellir sicrhau ei bod, ac y mae y dyfyniad a rydd *Ieuan Ddu* allan o waith DAFYDD AB GWILYM, yn ddigonol ar hyn.

> "*Solffeais* a'm salw ffuant
> Salm rwydd ys aelaw y mraint;
> Ac erddygan gan y gainc
> Goruaidd medd gwir ieuainc."

Er fod hyn yn profi fod ganddynt egwyddorion y gelfyddyd, eto y mae'n amlwg nad oeddent yn eu cario i eithafoedd; ddim pellach nâ'r hyn a orweddai yn rhwydd ar symledd natur. Yr oeddent yn agos i wir gelfyddyd, yn ol fel y dywed POPE, "*Art is but Nature better understood.*"

mae wedi ei chynyrchu pan oedd y cyfansoddwr tan ddylanwad cryf oddi wrth ei destun. Y mae symledd arddull yn eithaf naturiol i nwyd gref; nid yn unig mewn cerddoriaeth, ond hefyd yn mhob peth arall. Pe byddai i ni ddal sylw ar unrhyw areithydd cywir yn amlygu ei syniadau pan fydd tan ddylanwad nwyd gref, cawn ei arddull a'i iaith bob amser yn syml. Gall fod yn fywiol mae yn wir, ac yn meddu delweddau hyf a chryfion; ond ni fydd yno ddim addurniadau. Nid yw mewn hamdden y pryd hwnw i ganlyn y dychymyg. Ond gan fod ei feddwl wedi ei lyncu gan un testun, a'i deimladau wedi eu fflamio ganddo, ei amcan yw amlygu y pwnc hwnw yn ei amrywiol amgylchiadau, fel y mae ef yn ei deimlo. Dyma yn unig a ddylai yr arddull fod, pan y bwriedir gwresogi; a dyma fydd yr arddull, os byddys yn llefaru oddiar deimlad.

Yr un modd hefyd y gellir dywedyd am gerddoriaeth Os bydd y cerddor wedi ei feddiannu yn llwyr gan ei destun, ac yn ei deimlo yn ddwys, fe fydd ei gerddoriaeth yn sicr o ganlyn y llwybr a noda natur—sef yn hyf a syml.

Dyma yn hollol fel yr ymddengys cerddoriaeth Gymreig i ni—nis gallwn ei chanfod mewn goleuni gwahanol.

Gadewch i ni osod ger bron eto ychydig o sylwadau yn fyr ar y pwnc.

I. Bod cerddoriaeth eglwysig Gymreig wedi ei llygru yn fawr yn ei hoes.

Nid yw y gosodiad yn cael ei fwriadu i arwyddo fod cerddoriaeth eglwysig ein cenedl wedi bod yn berffaith rywbryd; hyny nis gwyddom, ac nid ein hamcan yw dadleu dros y cyfryw. Ond cynwysa, bod ein cerddoriaeth eglwysig, yn y dyddiau hyn, yn dra diffygiol o ateb i wir ansawdd cerddoriaeth eglwysig Gymreig.

Gellid profi fod ein cerddoriaeth eglwysig wedi ei llygru, oddiwrth y defnyddiad a wneir o erddyganau annheilwng i'r addoliad. Yr ydym wedi crybwyll hyn o'r blaen; a gallem ei gadarnhau yn mhellach drwy osod ger bron gasgliad o'r cyfryw erddyganau, neu yn hytrach rai o honynt, pe caniatäai ein terfynau. Yr ydym wedi clywed y fath erddyganau ein hunain mewn lluaws o addoldai yn ngogledd a deheudir Cymru, ac wedi clywed cwynfan y deallus o bob parth o'r herwydd.

Gellir profi eto fod llygriad yn ein cerddoriaeth, o ran ei Chymreigyddiaeth, pe byddai angen am hyny. Ond cydnabyddir hyn yn gyffredinol, a dyma destun cwynfan ein prif gerddorion er ys blynyddoedd bellach. Pa faint o'n cyfansoddiadau, y rhai a daenir yn ugeiniau ar led y blynyddoedd hyn, ydynt yn meddu y nerth, y teimlad, a'r symlrwydd oedd yn llanw ein hen erddyganau? Ha! frodyr, onid pfin ydynt. Gellir dywedyd gyda phriodoldeb mawr, fod yr awen gerddorol Gymreig wedi myned bron ar ddifancoll.

Hyn a'n harweinia i ystyried,

II. Beth yw achos y llygriad yma.

Gellir dywedyd mai gwreiddyn yr achos yw anwybodaeth. Tybia miloedd fod rhyw swn yn gân, os bydd ar yr enw, a bod pob cyfansoddiad yn gerddoriaeth, os bydd dan yr enw erddygan. Ni ddeallant wir natur ac ansoddion cerddoriaeth—a phe cynygid y cyfryw i ugeiniau, y maent yn rhy ragfarllyd i'w dderbyn, o herwydd ymarfer â sothach.

Pe yr edrychem i ddechreu, ar y rhai a gyfansoddant erddyganau yr oes, pa faint a allwn olygu ar dir teg, sydd yn deall y pwnc? Llawer un a gynyga at gyfansoddi cyn braidd y dealla egwyddorion canu, rhagor angenrheidion y pwnc hwnw. Pa faint a olygant eu hunain

yn feistrolgar mewn cerddoriaeth, heb erioed amgyffred dim mwy na'r hyn a gynwysir yn "Grisiau Cerdd Arwest," neu'r "Caniedydd Crefyddol," er na fwriadodd yr awdwyr hyglodus egluro dim ond oedd yn angenrheidiol i wneyd un yn ganwr? Ond addefaf yn rhwydd, ddirfawr anfantais y Cymro uniaith i ddod yn gyfansoddwr teilwng, o herwydd nad oedd ganddo foddion i ddysgu. A pha fodd y gallasid dysgwyl dim yn amgen? Ond nid i gyfansoddwyr annghelfydd y perthyn y camwri yn unig; eithr y mae cyhoeddwyr erddyganau yn gyfranog o'r unrhyw.

Er nad yw y casgliadau erddyganau sydd yn Nghymru ond bychan,* eto gallwn gasglu yn deg oddi wrth eu nodwedd, iddynt lygru llawer ar chwaeth yr oes. Nid wyf yn ammeu yn y gradd lleiaf, na buont yn foddion i godi awydd canu y wlad; ond dios, hefyd, iddynt fod yn foddion i ddenu yr anwybodus at oferedd, a magu rhagfarn yn ei feddwl at unrhyw ddiwygiad.

At y rhai hyn, gadewch i ni chwanegu blaenoriaid y gân yn mhlith y gwahanol enwadau. Onid wrth eu drws hwy y mae y bai hyny yn aros, sef dwyn erddyganau anmhriodol i'r addoliad? Ond druain, y mae

* Nid wyf yn gwybod am un casgliad cyhoeddedig, ond un Owen Williams o Fon, ac eiddo John Parry, Caerlleon. Y mae y cyntaf yn cynwys llawer o erddyganau o bob math; Cymreig, Saesonig, Almaenaidd, &c.; hynod o annhrefnus ac afreolaidd. Ond mae'n debyg i'r casgliad yma gael ei anurddo yn fawr, drwy i'r awdwr ei roddi dan olygiad Sais na wyddai ddim am fydyr ein hiaith. Y mae yr ail, sef "Peroriaeth Hyfryd" Mr. Parry, yn debyg o ran cymysgedd ei gynwysiad; ond yn waeth o lawer o ran argraff. Drwg genym iddo anturio at y fath orchwyl pryd na wyddai ddim am dano, i ddarostwng ei hun yn ngolwg ei gydwladwyr. Y mae cariad at gerddoriaeth ac at ein gwlad yn ein rhwymo i'w annghymeradwyo i'r graddau eithaf. Onid trueni yw fod y Saeson a chenedloedd ereill wedi cael cymaint o destunau gwawd am ben ein cerddoriaeth er ys blynyddoedd? A dyma un eto na chawsant erioed mo'i well, o ran cynwysiad ac argraffwaith.

llawer o honynt mor anwybodus na wyddant rhwng cywair llon a lleddf; ac aml un na adwaena fanig oddi wrth grychyn.

Y mae yr anwybodaeth yma wedi peri rhagfarn cyffredinol yn ein cantorion at yr hen erddyganau, a chodi syched ynddynt at y rhai newydd; heb ystyried dim o'u colled, ar y naill law na'r llall. Y mae lluaws o gantorion yn Nghymru, a ystyriant yr hen erddyganau oll yn eithaf annheilwng i'w defnyddio; ond pa beth bynag fyddo yn newydd, ymaflant ynddo â'u holl awch. Y mae hyny yn deilliaw o anwybodaeth yn natur ac ansoddion cerddoriaeth. Gwybodaeth gywir a'u cadwai rhag yr eithafoedd yma sy mor ddinystriol i lwyddiant cerddoriaeth y genedl. O'r un gwall hefyd y deillia yr arferiad dinystriol i'n cerddoriaeth, o ganu erddyganau Saesonig o bob math ar eiriau Cymreig. Nid wyf yn golygu fod pob erddygan Saesonig yn anmhriodol i'w defnyddio hyd yn nod ar eiriau Cymreig; canys y mae rhai yn hynod o debyg o ran eu nodwedd i gerddoriaeth Gymreig, yn neillduol gwaith rhai o'r hen awduron. Ond nid y rhai yma yn gyffredin a ddefnyddir, ond y cyfryw sydd yn hollol anaddas i iaith a barddoniaeth y Cymry--y rhai a gyfansoddir yn yr oes hon--y rhan fwyaf i ddybenion gwahanol, ac mewn arddull cymysglyd ac anmhenderfynol. *

Bellach, frodyr, onid yw yn bryd i ni ymofyn yn

III. Pa fodd i adferyd purdeb ein cerddoriaeth?

Wrth ystyried y pwnc, ymddengys mai y gorchwyl cyntaf sy raid ei wneyd, yw symud achos y dirywiad.

---

* Rhaid i bawb addef, mi feddyliwn, fod cerddoriaeth y Saeson yn hollol ddiffygiol o un undeb neillduol—ac yn wir, gellir dywedyd am gerddoriaeth Ewrop yn gyffredinol, ei bod bron wedi myned yn babel.

Gwneir hyny drwy daenu gwybodaeth yn mhob parth— trwy egluro beth yw cerddoriaeth yn ei chyneddfau hanfodol, a pha yw y rhai addurniadol. I gyflawni hyn yma, rhaid i ni yn 1. Ysgrifenu ar y pwnc. Wrth feddwl mor hoff yw cenedl y Cymry o gerddoriaeth, y mae yn syndod ein bod mor ddiffygiol o lyfrau i'w egluro hyd yn hyn. Ond felly y mae: a chyn y gellir taenu gwybodaeth, a gweithio diwygiad, rhaid ysgrifenu ar y mater.

2. Modd arall i daenu gwybodaeth yw, sefydlu Cymdeithasau Cerddorol. Y mae effaith cymdeithas o unrhyw fath mor amlwg ac hybrawfus fel nad oes angen sefyll uwch hyny yn bresenol .Gŵyr pob un (yn neillduol yn y dyddiau hyn, pryd y mae cymaint o son am hyny) nad oes dim yn fwy effeithiol i gyrhaedd unrhyw amcan, nâ sefydlu cymdeithas i hyny. Felly hefyd Cymdeithasau Cerddorol *—os ceir hwy yn gyffredinol,ac os carir hwy yn mlaen ar egwyddorion gwych a chyfeillgar, † dios y gwnant les dirfawr yn ein gwlad.

---

* Ond odid yr anfoddlona y darllenydd am grybwyll fod yn lled debyg na fuasai y Gramadeg hwn wedi ymddangos, oni buasai yr annogaethau a'r symbylau a dderbyniai yr awdwr oddi wrth ei gyfeillion yn Nghymdeithas Gerddorol Llanidloes, yr hon a sefydlwyd Mai 31ain, 1834.

† Hoff genym ddeall fod cymaint o gymdeithasau wedi eu sefydlu yn Nghymru eisioes, yn nghyda'r arwyddion cryf am eu lluosogi a'u cryfhau. Ond gadewch i ni grybwyll yn mhellach am lwybr a ymddengys i ni yn un tra effeithiol i'w llydaenu a'u dwyn i fwy o enwogrwydd. Pe byddai i bob cymdeithas gynal cyfarfodydd neillduol i'r swyddogion, a'r rhai eangaf eu gwybodaeth; ac yn y cyfarfodydd hyn, ddefnyddio rhyw gymaint o'r amser i ymddyddan am amgylchiadau y gymdeithas &c; ond y rhan fwyaf o'r amser i ymdrin â rhyw bwnc cerddorol. Er engraifft, bwrier fod y cyfarfodydd hyn yn cael eu cynal unwaith yn y pymthegnos—mewn un cyfarfod cynygir pwnc i'w ystyried erbyn y tro nesaf—yn y cyfarfod hwnw eilwaith, bydd y cyfleusdra i bob un ddywedyd ei feddwl arno, a'i ymresymu i oleuni. Yn y cyfamser, bydded i'r ysgrifenydd gofnodi sylwedd yr eglurhâd, mewn llyfr perthynol i'r gymdeithas. Ac felly yn olynol. Wedi hyn, bydded i holl gymdeithasau Cymru, Deau a Gogledd, ymuno â'u

Gadewch i ni grybwyll yn mhellach, fod yn ddyledswydd ar yr eglwys gynal cerddoriaeth, a hyny mewn trefn. Ymddengys i ni y dylai pob plaid grefyddol sefydlu a chynal ysgol neu ysgolion, i'r dyben hyny yn unig neu mewn rhan. Yr ydym yn methu â gweled pa reswm sydd i sefydlu a chynal moddion i addasu er cyflawni rhyw ran gyhoeddus o waith yr Arglwydd,yn fwy nâ rhan arall; er efallai yr ymddengys hyn yn beth dyeithr yn ei gysylltiad â cherddoriaeth i'r wlad yn gyffredin—ond adystyried a chwilio y pwnc ar bob tu mewn pwyll, bydd y mater yn ddigon amlwg. A phe caniatäai ein terfynau, gallem brofi yn hawdd fod yr eglwys wedi cydnabod a chyflawni hyn mewn gwahanol oesoedd, dan yr hen oruchwyliaeth * a'r newydd. A diau genym y gwelir amser pryd y cyflawnir hyn yn Nghymru hoff, ac yna bydd geiriau Erfyl gwedi eu gwirio yn gyflawn, pan y canodd,—

> HA WYR bach! mor hir y bu—y gynnar
> Hên genedl yn Nghymru
> Mewn tew drwch o d'w'llwch du,
> Yn cynnal gwaeled canu!

---

gilydd i gynal Cymanfa Gerddorol unwaith neu ddwy yn y flwyddyn[unwaith yn y Deau ac unwaith yn y Gogledd fe allai],ac i bob cymdeithas ymuno i anfon un neu ddau o'r aelodau i'w chynddrychioli yn y Gymanfa. Treulier cyfarfodydd y gymanfa mewn ymddyddanion, &c., ar natur ac ansawdd cerddoriaeth ein gwlad, &c. Felly fe gai cerddorion Cymru lwybr a chyfleusdra i wellau cerddoriaeth eu gwlad, na chant byth heb hyn. Bu ar ein meddwl lawer gwaith gynyg cyfundraeth a rheolau i'r perwyl hyn, i sylw ein brodyr cerddorol; ond gadawn y crybwylliad presenol i'w sylw.

* Chwilied y ddarllenydd beth oedd y ddysgeidiaeth a ddysgid yn ysgol y prophwydi gynt, a gychwynwyd gan Samuel, Elias, &c. Ond odid na ddeallа fod yno gerddoriaeth beth bynag, ac yn nglyn â hi yr oedd barddoniaeth; a pha beth oedd mor wasanaethgar i'r prophwydi ag ydoedd cerddoriaeth? O ba le, os nad oedd yma, sef mai prif ddysg y prophwydi oedd cerddoriaeth a barddoniaeth, o ba le, meddaf, y deilliodd fod yr un gair yn ieithoedd gwreiddiol yr ysgrytbyrau (ac yn mhlith yr henafiaid yn gyffredin) yn arwyddo *prophwyd* a *chanwr*? canys defnyddir hwy yn y ddau olygiad yn yr Hen Destament a'r Newydd.

**Ond eanu gwell geir bellach,—gobeithir**
**Gwiw bethau rhagorach:**
**Cymry'n awr o fawr i fach**
**A ganant yn amgenach,**

Yn olaf, gadewch i ni grybwyll wrth ddiweddu â'r mater, tuag at i ni gael diwygiad yn ein cerddoriaeth, y mae yn wir angenrheidiol i ni ymarfer âg erddyganau priodol. Er ein bod yn enwi hyn yn ddiweddaf, ac er na thraethwn arno yn bresenol, eto nid ŷm yn ei olygu yn beth ysgafn a dibwys. Y mae yn anhawdd i neb un *ddarllen* unrhyw awdwr gyda manylwch am dymor glew, heb i arddull y cyfryw awdwr effeithio ar ddull y darllenydd yn meddwl, &c. Anhawdd fydd i ddau berson gwahanol gerdded fraich yn mraich drwy y dydd heb ddysgu cydgamu a chydagweddu â'u gilydd. Y un modd hefyd y gellir dywedyd am ganu. Y mae yn annichonadwy ymarfer âg erddyganau cymysglyd a gwael, heb niweidio arddull ac athrylith y cerddor. Ac o'r tu arall, y mae ymarfer â chyfansoddiadau da yn tueddu yn benodol i wellau ei alluoedd. Gan hyny, dylai y cerddor fod yn dra gofalus pa beth a arfera, yn gystal a pha beth a bryna.

## PEN. I.

### *Y GORPHWYSFAAU.*

Mewn rhyddiaith, y mae'n wir angenrheidiol cael lleoedd penodol i'r llais orphwys er mwyn gwneyd yr hyn a draethir yn eglur ac effeithiol: felly hefyd y mae mewn barddoniaeth a cherddoriaeth. Yr ydym wedi egluro o'r blaen* fod pob pennill mewn barddoniaeth yn cael ei gyfansoddi o nifer penodol o gorfanau, — yn nghyda'r berthynas sy rhwng y corfanau hyny a banau cerddoriaeth. Yn awr yr ydym i ddangos fod lle neu leoedd penodol yn mhob pennill y dylid aros neu orphwys wrthynt am yspaid mwy neu lai,—yn nghyda'r berthynas sy rhwng y rhai hyn eto a cherddoriaeth.

Gellir dosparthu y gorphwysfaau hyn i dri math—yr *adran*, y *dosran*, a'r *diweddnod*. Yr adran yw y lleiaf ei amser, ac heb fod ynddo ddrychfeddwl cyflawn; y mae ei ddefnydd mewn cerddoriaeth yn debyg i ddefnydd y rhagwahannod (,) mewn rhyddiaith. Y dosran yw yr ail mewn amser, ac a gynwys ddrychfeddwl cyflawn; eto a oddefa yn naturiol i chwanegu ato, ac mewn ystyr ni fydd yn berffaith heb hyny—y mae yn ateb i'r gwahannod (:) mewn rhyddiaith. Y diweddnod yw terfyn y mater, gan hyny y mae yn cynwys cyfansoddiad cyflawn a pherffaith—y mae yn ateb i'r diweddnod (.) mewn rhyddiaith. †

---

*Rhan II. Pen. 5.

† Er mwyn i'r efrydydd amgyffred a dal ar yr angreifftiau egluriadol, defnyddiwn yr arwyddnodau canlynol:

| | Mewn barddoniaeth | Mewn cerddoriaeth |
|---|---|---|
| Am adran defnyddiwn | \| | ˎ |
| — ddosran ———— | \|\| | * |
| — ddiweddnod ——— | \|\|\| | o |

Cyfansoddir yr adran o nifer benodol o fanau—y dosran o nifer benodol o adranau—yn ol natur y *mesur* a'r diweddnod o'r ddau yn nghyd. Er mwyn cael gwneyd hyn yn fwy amlwg, dadgymalwn ychydig ar y prif fesurau.

ADRAN I.—AM Y MESUR BYR CYMREIG, NEU M, B, C.

Y mesur yma a ffurfir o bedair llinell. Y gyntaf a gynwys chwe sill; yr ail, saith; y drydedd, wyth; a'r bedwaredd, saith sill.

Cenir y mesur yma ar y corfan talgrwn—y ddwy linell flaenaf yn cynwys tri chorfan bob un; y drydedd, pedwar corfan; a'r olaf, tri chorfan.

Wrth ddadgysylltu y pennill, gellir ei olygu megys yn gyfansoddedig o bedwar adran—sef llinell i bob adran: fel hyn,—

Trugaredd dod i mi |
Duw o'th ddaioni tyner |
Ac ymaith tyn anwiredd mau |
O'th drugareddau lawer |

Ond wedi uno y rhanau yma yn un cyfansoddiad, saif y pennill fel hyn,—

Trugaredd dod i mi, |
Duw o'th ddaioni tyner ||
Ac ymaith tyn anwiredd mau |
O'th drugareddau lawer |||

Felly ymddengys yn naturiol fod pennill yn y mesur yma yn cael ei gyfansoddi o adran a dosran, ac adran a diweddnod.

Saif y gerddoriaeth fel hyn,—






Y mae y mesur byr arall yr un fath, ond ei fod un sill yn fyrach yn yr ail a'r bedwaredd linell.

ADRAN II.—MESUR CYFFREDIN, NEU M. C.

Y mesur yma a ffurfir o bedair llinell;—y gyntaf yn cynwys wyth sill; yr ail, chwech; y drydedd, wyth; a'r bedwaredd, chwech.

Cenir y mesur yma eto ar y corfan talgrwn; y linell gyntaf a'r drydedd yn cynwys pedwar corfan bob un, a'r ail a'r bedwaredd tri chorfan bob un.

Gellir golygu y mesur yma eto fel yn gyfansoddedig o bedwar adran, sef llinell i bob adran; fel hyn,—

Mae brodyr imi aeth ym mlaen |
Yn holliach a chytun |
Deng mil o filoedd yw eu cân |
Er hyn nid yw ond un |

Ond pan yr ystyriom y rhanau yma yn un cyfansoddiad, fe saif y pennill fel hyn,—

Mae brodyr imi aeth ym mlaen |
Yn holliach a chytun ||
Deng mil o filoedd yw eu cân |
Er hyn nid yw ond un |||

Felly ymddengys yn naturiol fod y mesur yma yn cael ei gyfansoddi o adran a dosran, ac adran a diweddnod.

Saif cerddoriaeth y mesur yma eto fel hyn,—

. Mae brod-yr i mi aeth ym mlaen, Yn holl-iaeth a chyt-un; Deng mîl o fîl-oedd yw eu cân, Er hyn nid yw ond un.

ADRAN III.—MESUR HIR, NEU M. H.

Y mesur yma eto a ffurfir o bedair llinell, yn cynwys wyth sill bob un.

Cenir y mesur yma ar y corfan talgrwn, pob llinell yn cynwys pedwar corfan. Gellir golygu y mesur yma eto fel yn gyfansoddedig o bedwar adran, sef llinell i bob adran; fel hyn,—

Beth dâl im' roi fy serch a' mryd |
Ar ddim a welais yn y byd |
Dâ, daear, dyn, pa gysur yw |
Y dydd y del digofaint Duw |

Ond ar ol uno y rhanau yma â'u gilydd, a'u hystyried yn un cyfansoddiad, fe saif y pennill fel hyn,—

Beth dâl im' roi fy serch a' mryd |
Ar ddim a welais yn y byd ||
Dâ, daear, dyn, pa gysur yw |
Y dydd y del digofaint Duw |||

Felly ymddengys yn naturiol fod y mesur yma hefyd yn cael ei gyfansoddi o adran a dosran, ac o adran a diweddnod.

Saif cerddoriaeth y mesur yma fel hyn,—













Oddi wrth yr angreifftiau yma fe wêl y darllenydd fod cyfansoddiad y mesurau hyn yn hynod o syml ac hawdd ei ddeall, ac yr un fel a'u gilydd, oddieithr yn nifer eu sillau.

Y mae mwy o anhawsder yn y mesurau neillduol, se y rhai a genir ar y corfan rywiog a chrych ddisgynedig. Byddai yn rhy faith i ni egluro yr holl fesurau hyn yn un ac un; ond rhoddwn angraifft neu ddwy, fel y gallo yr efrydydd ddosranu iddo ei hunan.

Deffro f'enaid | deffro'n ufydd ||
Cod yn awr |
Gyda'r wawr |
Seinia ganiad newydd |||

Y mesur yma a genir ar y corfan rywiog, ac a ffurfir (fel y gwel yr efrydydd) o adran a dosran, a dau adran a diweddnod.

Saif y gerddoriaeth fel hyn,—




Ar Galfari fryn |
Agorwyd cyn hyn |
Ryw ffynnon anfeidrol ei rhin ||
Hi bollol lanhâ |
Aflendid a phla |
Hi gàna yr Ethiop yn wŷn |||

Y mesur yma a genir ar y corfan crych ddisgynedig, ac a ffurfir o ddau adran a dosran, a dau adran a diweddnod.

Saif y gerddoriaeth eto fel hyn,—









Hyderym fod yr angreifftiau uchod yn ddigonol i beri i'r efrydydd amgyffred y pwnc, ac y gall trwy ei ymroddiad a'i ddiwydrwydd ei hun ddyfod yn hawdd i ddosranu pob pennill yn unrhyw fesur.

---

## PENNOD II.

### *CYFANSODDIANT PERORIAETH.*

Yn awr yr ydym yn dyfod i draethu ar gyfansoddiant, y rhan fwyaf pwysig ac arbenig y wybodaeth: hyny ydyw, y rhan at ba un y cyfeiria pob rhan arall. Nid yw Nodiant, Peroriaeth, a Chynghanedd, ddim ond y ffordd at y nôd—y nôd ei hunan ydyw cyfansoddiant. Cyn y gellir cyflawni hyn gyda medrusrwydd, y mae yn rhaid cael, yn gyntaf, gwybodaeth; sef gwybodaeth o'r egwyddorion angenrheidiol. Y mae y rhai hyn wedi eu hegluro yn y rhanau blaenorol yn benaf, oddi eithr y rha hyny a berthynant yn unig i iawn symudiad y llais neu leisiau, y rhai a eglurir yn y pennodau canlynol. Gan hyny, cyn i'r efrydydd gynyg ar y gwaith o gyfansoddi y mae angenrheidiol iddo fod yn eithaf cyfarwydd mewn Nodiant, Peroriaeth, a Chynghanedd, yn nghyda darllen yn ofalus y Rhagdraeth ar Na'ur ac Elfenau Cerddoriaeth, ei ystyried a'i fyfyrio yn fanwl; yn benodol y

rhan ar Gerddoriaeth Eglwysig, a Cherddoriaeth Eglwysig Gymreig. Yn ail, heblaw cyrhaedd y wybodaeth sydd angenrheidiol, rhaid iddo hefyd ymarfer ychydig—ymarfer â chyfansoddiadau awdwyr ereill, ac ymarfer â chyfansoddi* ei hunan.

Yn awr dygir ni yn fwy unionyrchol at reolau cyfansoddiant Peroriaeth, y rhai a nodwn dan yr adranau canlynol.

ADRAN I.—MATER NEU BWNC Y CYFANSODDIAD.

Y peth cyntaf a ddylai fod dan sylw y cyfansoddwr yw y geiriau y cyfansoddir atynt. Rhaid iddo ystyried beth yw eu testun, a dull y bardd o amlygu y testun; o herwydd cofied mai ei waith ef yw darlunio y drychfeddyliau mewn seiniau cerddorol; a thrwy hyny wneyd y pwnc yn effeithiol. Dyma yr amcan mawr a ddylai fod gan y cyfansoddwr; ac os metha yn hyn, ni fydd gwir deilyngdod yn ei waith. Tuag at ei gynorthwyo i gyrhaedd y nôd, dalied ar y sylwadau canlynol.

1. Rhaid i'r cywair fod yn briodol i'r testun. Y mae hyn mor amlwg fel nad oes angen sylwi arno; canys y mae yn amlwg nad yw cywair llon yn addas i eiriau trist a galarus, na chywair lleddf i eiriau llawen a gorfoleddus.

2. Rhaid dal sylw ar amser, o ran y modd a'r nodau. Gallwn ddosparthu amser i ddau ddosparth cyffredin; sef araf a chyflym. Y mae amser araf yn addas i bob drychfeddwl lleddf, têg, a mirain. A'r amser cyflym, i bob drychfeddwl llon, bywiog, a mawreddus. Ond dylai

* Hyny ydyw, â chyfansoddi yn gyfrinachol, ac nid yn gyhoeddus. A chynghorem pob cyfansoddwr ieuanc i ddangos ei waith i rywun a fyddo yn fwy cyfarwydd nag ef, cyn ei wneyd yn gyhoeddus. Byddai hyn yn fendith fawr i Gerddoriaeth, ac yn gysur mawr i'r awdwr ei hunan pan delo i oedran mwy addfed.

yr awdwr arwain ei gyfansoddiad, yn, a rhwng yr eithafoedd hyn, yn ol fel bo natur y testun yn gofyn.

3. Yn agos at gyflymdra neu arafwch symudiad, y saif iawn ddull yr ysgogiad. Nis gellir rhoddi rheolau priodol at bob amgylchiad yn y pethau hyn; ond yn nghyda'r sylwadau a wnaed yn y rhagdraeth, a'r rhai a roddwn eto yn y pennodau canlynol, hyderir y byddant yn ddigonol ar y pwnc, os caiff y cyfansoddwr yn

4. Brofiad a theimlad o'r geiriau. Dyma y prif arweinydd. Rhaid iddo eu hargraffu ar ei galon ei hun, cyn eu hargraffu drwy nodau. Nid oes dim ond teimlad a gynyrcha deimlad. Ac os na fydd y gallu yma yn y cyfansoddiad, ni fydd ond cyffelyb i gorph marw; ac fe ŵyr y byd yn dda, pa addurn bynag a roddir ar gorph marw, nad yw yn addas i un lle ond i'r gladdfa. Gan hyny, y mae o'r pwys mwyaf i'r cyfansoddwr, ei fod yn alluog i gyfansoddi yn deimladwy.

### ADRAN II.—Y PRIF SEINIAU.

Y mae i bob cyweirnod ei brif seiniau; hyny ydyw, y mae rhai seiniau yn yr wythawd a mwy o lywodraeth ganddynt i reoli y sain, nâ'r seiniau ereill; sef y cyweirnod, y trydydd, a'r pummed. Ar y seiniau yma y dibyna pob cyfansoddiad rheolaidd; ac yn niffyg eu defnyddio yn amserol a threfnus, bydd y cyfansoddiad yn gymysglyd ac yn anmheuderfynol o ran ei gyweirnod. Y mae gan y seiniau yma y fath ddylanwad ac effaith ar y cyfansoddiad, nad ellir ei amlygu yn hawdd mewn geiriau, ond a deimlir yn rhwydd gan y glust, fel yn yr angraifft ganlynol.—



Effeithia y seiniau hyn yr un fel yn mhob cyweirnod, fel y gellir dangos wrth yr un angraifft yn drawsddodedig i G lon: fel hyn,—



Y mae y seiniau yma mor amlwg yn dynodi C ac G yn gyweirnodau yn yr angreifftiau blaenorol, fel mai ymdrech yw i'r llais aros mewn un pwynt arall. Er prawf o hyn rhoddwn yr angraifft ganlynol,—



Er fod yr angraifft hon yn dechreu yn C, ac yn diweddu yn C, eto nis gall y glust dderbyn C fel cyweirnod, o herwydd y seiniau a ddefnyddir ; ond y mae yn aros ar Ff fel y cywair priodol.

Oddi wrth y crybwyllion uchod, gallwn osod y rheolau canlynol fel rhai cywir ac angenrheidiol.

1. Bod yn rhaid i bob cyfansoddiad cerddorol ddechreu yn un o'r prif seiniau—y cyweirnod, y trydydd, neu y pummed: ac mai gwall anoddefol yw dechreu yn unrhyw un arall.

2. Bod yn angenrheidiol defnyddio y seiniau hyn yn y fath fodd ag y dynodant y cyweirnod priodol; hyny ydyw, pan y byddys yn cyfansoddi mewn unrhyw gyweirnod, dylid defnyddio y seiniau hyn, sef y cyweirnod, y trydydd,a'r pummed, yn y fath fodd ag i arwain yr alaw i ddisgyn ac aros ar y cyfryw gyweirnod, fel y prif bwynt y dylid aros arno, yn hollol gyson â chyweirdeb y glust.

3. Bod yn rhaid i'r cyfansoddiad derfynu yn y cy-

weirnod. I gyrhaedd hyn rhaid cael y pethau canlyn ol:—rhaid gochelyd pob symudiad anaddas—rhaid dewis pellderau cywir a boddhaol—rhaid bod cymesuriant yn y rhanau—a rhaid bod y mydyr yn addas. Dylid gochelyd pob pellderau anhawdd, yn y raddfa naturiol a goslefol fel eu gilydd: megys yn yr angraifft ganlynol,—



Dewisir pellderau a symudiadau addas oddiar yr un egwyddor ag y gwrthodir rhai annghywir ac anaddas; sef eu cydweddiad neu annghydweddiad â graddfa natur, yr hon sydd fel hyn,—



Nis gellir cael perffeithiach alaw nâ'r angraifft yma, yr hon sydd yn symud mor hylithr a chydgysylltiol, fel nas gellir methu y cyweirnod.

Yr unig gyfarwyddiadau a ellir eu rhoddi i gyrhaedd iawn symudiad ŷnt y rhai hyny sydd yn gysylltedig â chymesuriant a mydyr; yr hyn a eglurir wrth draethu ar ddefnyddiad y gorphwysfäau.

---

## PENNOD III.

### *CYFANSODDIAD CYNGHANEDD.*

Y pwnc sy genym wrth egluro deddfau cyfansoddiad cynghanedd, yw dangos y modd y gellir iawn ddefnyddio y gwahanol gyfryngau, pa symudiadau a ellir ddefnyddio, a pha rai ŷnt yn afreolaidd. Yr ydym yn

y drydedd ran wedi egluro iawn ddefnyddiad pob cord rheolaidd yn y cyfanswm o hono, yn gydseiniol ac anghydseiniol; ond yn awr ein gorchwyl fydd dangos y modd y defnyddir eu gwahanol ranau neu aelodau mewn perthynas â'u gilydd.

ADRAN I.—SYMUDIAD Y CYDSEINIAID.

Pan y mae un llais yn symud a'r llall yn aros yn yr un fan, gelwir y cyfryw ddull yn un *gŵyr*. Pan byddo dau lais yn cydsymud, gelwir y cyfryw ddull yn un *cynhebyg*. A phan byddo dau lais yn symud yn groes i'w gilydd, gelwir y cyfryw ddull yn un *gwrthwynebol*.

*Rheol* 1.—Mewn ysgogiad gŵyr, gall y llais a fyddo yn symud fyned i unrhyw gydsain: fel hyn,—




*Rheol* 2.—Gellir defnyddio amryw o gydseiniaid yn olynol, os bydd y lleisiau yn sefyll ar un graddau: fel hyn,—




*Rheol* 3.—Y mae yn afreolaidd defnyddio dau neu chwaneg o bummau perffaith ac wythau mewn ysgogiad *cynhebyg* : fel hyn,—




Ond gellir defnyddio dau bummed, os bydd un yn berffaith a'r llall yn leiaf; neu un yn berffaith a'r llall yn oslefol: fel hyn,—

Goddefadwy Gwell




*Rheol* 4.—Nid yw yn rheolaidd symud o unrhyw gyfrwng cydseiniol i'r unsain, yr wythfed, neu y pummed perffaith, pan byddo yr ysgogiad yn gynhebyg: fel hyn,—




Nid yw y rheol yma heb eithriadau; sef, pan byddo yr isalaw, neu ryw lais arall os bydd islaw y llais y defnyddir y cyfryw bellderau, yn neidio pedwarydd neu bummed: fel hyn,—




Dylid cadw y rheol yma yn fanwl mewn dau lais; ond pan llenwir y gynghanedd â seiniau ereill, goddefir troseddiad yn fwy rhwydd yn y llais neu leisiau hyny; ond nid yn y ddau brif lais.

*Rheol* 5.—Gellir defnyddio y trydydd a'r chweched yn mhob un o'r ysgogiadau hyn yn ddiwahaniaeth.

*Rheol* 6.—Pan byddo yr un nod yn dygwydd mewn dau gord dylynol, y mae yn well parhau y nod hyny yn yr un llais, nâ'i ddefnyddio mewn gwahanol leisiau: fel hyn,—




*Rheol* 7.—Pan y defnyddir dau gord cyffredin yn nesaf i'w gilydd, a'r isalaw yn symud ond un radd i lawr neu fyny, dylai y lleisiau ereill wrthsymud: fel hyn,—



Ond os bydd yn angenrheidiol i un o'r lleisiau gyd-symud â'r isalaw, er mwyn cadw y blaenoriaeth, gellir gwneyd hyny trwy ddyblu y trydydd yn yr ail gord os bydd yr isalaw yn esgyn, neu yn y cyntaf os bydd yn disgyn: fel hyn,—




*Rheol* 8.—Y mae yn afreolaidd dyblu y nod arweiniol yn mhob cywair.

### ADRAN II.—CYNGHANEDD ADDURNOL.

Wrth gynghanedd addurnol y meddylir cynghanedd yn yr hwn y defnyddir dau neu chwaneg o nodau mewn un llais gydgyfer âg un mewn llais arall. Nid yw y cyfryw addurn yn hanfod i gerddoriaeth eglwysig, ond yn hytrach yn y gwrthwyneb; ac os defnyddir o yn ormodol, bydd yn sicr o arwain y cyfansoddiad oddiar yr iawn lwybr. Ond gosodwn ychydig o reolau mwyaf safadwy perthynol i'r dull yma o gyfansoddi, ar y golygiad, fod gradd o amrywiaeth yn hanfodol i gerddoriaeth eglwysig, ac y gellir defnyddio y dull yma yn dra phriodol mewn amgylchiadau.

*Rheol* 1.—Pan ysgrifenir dau nod gydgyfer âg un, rhaid i'r cyntaf fod yn gydsain; a'r ail yn gydsain neu yn anghydsain addurnol: fel hyn,—




*Rheol* 2.—Os bydd nod diweddaf y ban wedi ei glymu â nod cyntaf y ban canlynol, gall y nod cyntaf neu y rhan bwysleisicl y ban fod yn gydsain neu yn annghydsain gydbwysol, ond rhaid i'r nod diweddaf, neu y rhan ddibwys, fod pob amser yn gydsain: fel hyn,—



*Rheol* 3.—Gellir defnyddio pedwar, chwech, neu wyth o nodau cyfatebol yn unol â'r un egwyddor; sef bod yn rhaid i'r nod cyntaf fod yn gydsain, a gall y rhai ereill fod yn gydseiniaid neu annghydseiniaid addurnol: fel hyn,—



Mewn amser triphlyg, lle mae y nod blaenaf yn bwysleisiol, a'r ddau ereill yn ddibwys, nid yw y rheol yma yn dwyn perthynas ond â'r nod blaenaf a diweddaf; gan hyny, os na fydd yn angenrheidiol i adferyd annghydsain, gellir ei defnyddio yn gydsain neu annghydsain addurnol: fel hyn,—




## PENNOD IV.

### *CYFANSODDIAD GWAHANOL LEISIAU.*

Rhaid fod yr efrydydd yn deall erbyn hyn ein bod yn golygu y dylid defnyddio y rhyddid a'r eangder mwyaf wrth gyfansoddi yr alaw: ac os methir cyrhaedd y pwynt yno, fe fydd y diffyg mwyaf yn aros, beth bynag fyddo y gynghanedd.

Ar ol cyfansoddi alaw da, ac os bwriedir chwanegu lleisiau ato, y prif bwnc sydd yn angenrheidiol yn y gorchwyl, yw cadw cylch rheolaidd i bob llais, a pheri iddynt gydsymud yn rheolaidd a chymesurol. Tuag at gyrhaedd hyny, y mae yn angenrheidiol deall faint o seiniau sydd yn gynwysedig yn ngraddfa y llais dynol, a pha fodd y dosparthir hwy yn rheolaidd.

Meddyliwyf fod graddfa natur yn cynwys tri wyth o seiniau, pa rai a ellir ddosparthu fel hyn,—




Oddiwrth y dafien hon ni a welwn y gellir casglu y seiniau yn naturiol i dri dosparth. Y dosparth cyntaf yn dechreu yn G isaf, ac yn cyrhaedd trwy A, B, C, D, E, Ff, ac yn terfynu yn G yr wythfed. Yr ail ddosparth yn dechreu yn yr un sain (G) ag y mae y cyntaf yn terfynu, ac yn cyrhaedd trwy A, B, C, D, E, Ff, ac yn terfynu yn G yr wythfed. A'r trydydd dosparth yn dechreu yn yr un sain (G) ag y mae yr ail yn terfynu, ac yn cyrhaedd trwy A, B, C, D, E, Ff, ac yn terfynu yn G yr wythfed. Dyma y raddfa fel y nodir ac y dosparthir hi gan natur. Y dosparth cyntaf a ddylai gael ei ganu gan y lleisiau cryfaf a dyfnaf o'r rhyw wrywaidd, ac a elwir isalaw. Yr ail ddosparth sydd wythawd yn uweh, ac a ddylai gael ei ganu gan y lleisiau ysgafnaf o'r gwrywaid, ac a elwir cyfalaw. Y trydydd dosparth sydd wythawd yn uwch eilwaith, ac a ddylai gael ei ganu gan y rhyw fenywaidd, yn nghyda phlant o'r rhyw wrywaidd, ac a elwir uchalaw.

Nid ým yn golygu fod y raddfa hon yn cynwys y cwbl a ddichon y llais ei seinio, ac nad all neb fyned yn îs neu uwch nâ'r rhai a nodir, ond fe saif yn safon cyffredinol.

Yn nglŷn â'r dafleu uchod, gellid gofyn yn naturiol, pa un ai y cyfalaw neu yr uchalaw a ddylai fod yn brifalaw yr erddygan; ac o ganlyniad, pa un ai gwrywaid ai menywaid a ddylent ei ganu? Ni chaniatâ terfynau y Gramadeg hwn i ni wneyd ymchwiliad manwl ac helaeth i'r pwnc; ond ein barn yw, mai y cyfalaw a ddylai fod. Yr ydym yn sylfaenu ein barn, nid ar arferiad gwahanol genedloedd, ond ar *natur*. Edryched yr efrydydd ar y daflen uchod (yr hon sydd yn eithaf cyson âg ymchwiliadau manylaf athroniaeth naturiol), ac fe wêl mai canolbwynt graddfa y seiniau cerddorol yw y cyfalaw, yn amgylchedig â'r isalaw a'r meinllais. Yn unol â'r un egwyddor hefyd, dylai yr un seiniau fod yn ganolbwynt i bob erddygan; ac ni ddylai y seiniau ereill gael eu defnyddio ond i gynorthwyo y cyfryw lais. Y mae hyn yn gyson â natur, ac âg ansawdd cerddoriaeth Gymreig.

Ymddengys ar y cyntaf nad ellir cael ond tri o leisiau yn unol âg egwyddorion natur, a bod yn rhaid troseddu ar derfynau un o'r lleisiau, cyn y gellir chwanegu pedwarydd. Y mae hyny i raddau pell yn wirionedd. Ond pan yr ystyriwn yr yspaid hyny yn oes gwrywaid, pan y mae eu lleisiau yn cyfnewid o'r dosparth uchaf i'r ail ddosparth, y mae y pryd hyny yn analluog i seinio y naill ddosparth na'r llall—ac felly mewn ystyr yn ffurfio pedwarydd dosparth, o seiniau uchaf yr ail, ac o seiniau isaf y trydydd. Y mae llawer o leisiau ysgafnaf y rhyw wrywaidd yn rhedeg yn naturiol fel hyn trwy yr oes. Gellir galw y llais yma yn rhesymol yn Mysgalaw.

Y mae rheswm dros y trefniad yma yn amlwg yn ngwyneb graddfa natur—yr isalaw yn isaf; y cyfalaw yn nesaf; y mysgalaw wedi'n, am mai cymysgiad ydyw o seiniau uchaf y cyfalaw, a seiniau isaf yr uchalaw; a'r uchalaw yn uchaf oll.

Nid yw o gymaint pwys pa arluniau a ddefnyddir yn allweddau, ond eu cael unwaith yn wybodus.

Nid oes un anhawsder yn bod yn nhrefniad a pherthynas y lleisiau â'u gilydd, pan unwaith y deallir eu trefniad; eto, byddai yn fwy rheolaidd a chyson pe bae i bob llais ei allwedd ei hun: fel hyn,—

Uchalaw

Mysgalaw

gs

Cyfalaw

Isalaw

Pa drefn bynag a ddefnyddir, nid yw hyny yn cyfnewid dim ar reolau cerddoriaeth.

Na fydded i'r efrydydd gasglu oddi wrth y sylwadau hyn, ein bod yn golygu y dylai pob erddygan fod yn bedwar o leisiau cyn y bydd yn gyflawn; pell ydym oddi wrth feddwl y fath beth. Ac anwybodaeth o'r mwyaf yw edrych yn ddiwerth ar gyfansoddiadau, os na fyddant yn dri neu bedwar o leisiau. Y mae trefniad erddygan i amrywiol leisiau yn ymddibynu ar natur yr alaw. Weithiau, cyfarfyddwn âg alaw na chymer yn naturiol dros un llais, sef isalaw: pryd arall ddau: a phryd arall dri. Yn gyffredin, y mae diffyg nwyf yn yr alaw hyny a welleir yn fuan drwy chwanegu dau

neu dri o leisiau; ac nid yw chwanegu pedwar neu chwaneg, ond prawf amlwg o ffolineb yr awdwr, neu ei ddiffyg o athrylith.

Wrth gyfansoddi gwahanol leisiau, y prif beth ydyw eu ffurfio i gydsymud â'u gilydd yn naturiol, i ben yr un effaith cyffredinol. Dylai pob llais gynwys cymaint o beroriaeth ag sy ddichonadwy. Dylent symud hefyd mewn cylch naturiol; hyny yw, o fewn y cylch a nodir iddynt yn ngraddfa natur, fel y nodwyd eisioes.

Yr ydym wedi egluro y prif ddeddfau ŷnt yn llywodraethu symudiad y cydseiniaid, yn fwyaf uniongyrchol mewn dau lais. Y mae y deddfau yma yn sefyll yr un mewn mwy o leisiau, ond yn unig fod yn hawddach goddef troseddiad o honynt mewn tri neu bedwar o leisiau, nag mewn dau, yn neillduol os bydd y beroriaeth yn deilwng.

---

## PENNOD V.

### *TRWYDDEDAU CYFANSODDI.*

Y mae rhai pethau mewn cerddoriaeth wedi eu sylfaenu yn fwy ar arferiad a chwaeth, nag ar reswm a pherthynas. Yn aml, cyrhaeddir y nod yn well drwy hyny nâ phe annghaniateid hyny. Y rhyddid yma a elwir genym yn drwyddedon. Ond nid ydym yn eu nodi er mwyn eu defnyddio yn ddiangenrhaid; canys y maent heb un gwreiddyn, fel y gwelir yn y drydedd ran.

#### ADRAN I.—DEFNYDDIAD Y CYDSEINIAID.

Yr ydym wedi dangos o'r blaen yn y drydedd ran pa gordiau ŷnt reolaidd ac afreolaidd, yn nghyd â'u hiawn ddefnyddiad. Yn awr gosodwn ger bron yr efrydydd y rhyddid eang a gymer awduron enwog yn eu defnyddiad, er mwyn cyrhaedd rhyw amcan penodol.

1. Defnyddir y cord cyffredin ar eilfed, trydydd, a chweched, y cyweirnod.

Felly saif ei ddefnyddiad fel hyn,—



Pan y defnyddir y cord yma ar seithfed y cyweirnod, neu ar eilfed y cyweirnod lleddf, y mae y pummed yn un lleddf goslefol. A phan y defnyddir o ar y seithfed, pan y mae nod yr isalaw yn esgyn i'r cyweirnod, dylai pummed y cord ddisgyn un radd naturiol i'r cord dyfodol: fel hyn,—




2. Defnyddir cord y chweched ar eilfed, trydydd, chweched, a seithfed y cyweirnod, a thrwy rinwedd y cord yma a'r cord cyffredin, gellir cyflawni yr wythawd: fel hyn,—



3. Defnyddir cord y chwech pedwar weithiau ar y cyweirnod. Yn y cyfryw ddefnyddiad, dylid ei ganlyn â'r cord cyffredin ar y cyweirnod: fel hyn,—




Gellir sylwi mai go anfynych y defnyddir y cord yma gan gyfansoddwyr diweddar, ac y defnyddir y pedwarydd fel annghydsain.

ADRAN II.—DEFNYDDIAD YR ANNGHYDSEINIAID.

Yn yr adran yma bydd yn angenrheidiol i ni egluro y gwahanol seithau a ddefnyddir, yn nghyda'u gwrthddulliau.

1. Yr un mwyaf nodedig yw yr un a ddefnyddir ar seithfed y cyweirnod. Pan ei defnyddir yn y cywair llon, gelwir o yn seithfed lleiaf: fel hyn,—




Sylw. Ni ddefnyddir gwrthddulliau y cord yma ond anfynych iawn, yn neillduol $\frac{4}{2}$.

Pan y defnyddir o yn y cywair lleddf, gelwir o yn seithfed gorleddf: fel hyn,—

*Seithfed gorleddf.* *Ei wrthddulliau.*

7♯ ♯6 5 ♯4 3 4 ♯2.

2. Defnyddir cord y seithfed ar y cyweirnod, ei bedwarydd, a'i bummed, yn y cywair lleddf: fel hyn,—

7 7 7

3. Ar y cyweirnod a'i bedwarydd yn y cywair llon: fel hyn,—

7 7

Y mae yn angenrheidiol parotoi ac adferyd yr an-nghydseiniaid yma yr un fel â'r seithfed pummawl, gyda hyn o chwanegiad, nad yw yn oddefol eu defnyddio ond ar ranau pwysleisiol y ban.

### ADRAN III.—DYLYNIANT.

Mewn amgylchiadau penodol mynychir yr un cord, yn ddidòr, yr hyn a elwir yn ddylyniant.

1. Defnyddir dylyniad o unseiniau neu wythau: fel hyn,—



Y mae y dylyniad yma yn bur effeithiol, os defnyddir yn fedrus ac mewn amgylchiad priodol, sef pan bo neillduolrwydd y geiriau yn gofyn cydundeb y gwahanol leisiau.

2. Defnyddir cord y chweched mewn dylyniant: fel hyn,—




Yn y dylyniad yma fe wêl yr efrydydd fod y lleisiau uchaf yn cymysgu yn ol rheolau symudiad y cydseiniaid.

3. Defnyddir cord y seithfed mewn dylyniant: fel hyn,—




Yn yr angraifft yma fe welir fod y nod sydd yn ffurfio yr annghydsain yn cael ei pharotoi, a'i adferyd i'r trydydd.

At y dylyniadau yma gellir chwanegu parhâd unrhyw gord ar ei wreiddyn ei hun: fel hyn,—

*Y Cord Cyffredin.*



Yr un modd hefyd yr holl gydseiniaid.

*Cord y Seithfed.*




Yr un modd hefyd yr holl annghydseiniaid.

# PENNOD VI.

## *DEFNYDDIAD Y GORPHWYSFAAU.*

Yn bresenol dygir ni i roddi ger bron yr efrydydd y rheolau a ymddengys i ni yn bwysig yn nefnyddiad y gorphwysfaau.

### I.—DEFNYDDIAD YR ADRAN.

1. Yn gyffredin y mae yr adran yn ffurfio hanner y dosran—bryd arall, un rhan o dair.

2. Gall yr adran derfynu ar unrhyw un o brif seiniau yr erddygan, yn eu sefyllfa syml neu wrthddulol.

### II.—DEFNYDDIAD Y DOSRAN.

1. Dosparthir y dosran i ddau fath—dosran cyweirnodol, a dosran pummol.

2. Ymddibyna y dosparthiad yma, nid cymaint ar sefyllfa y dosran, ond yn hytrach ar natur y diweddeb: fel hyn,—




Ffurfir un ar ddiweddeb anmherffaith; a'r llall ar un perffaith.

3. Fod yn rhaid i'r dosran derfynu mewn diweddeb, yn gyffredin ar ran pwysleisiol y ban; ac i fod yn amlwg o ran peroriaeth a chynghanedd.

4. Y dylai y dosran derfynu ar un o brif seiniau y

cord cyffredin, perthynol i'r cyweirnod, y pummed neu y pedwarydd.

### III.—Defnyddiad y diweddnod.

Defnyddir y diweddnod i derfynu yr erddygan mewn diweddnod perffaith.

Fel angraifft i egluro y pwnc yn mhellach, defnyddiwn yr Hen Ganfed Salm *










* Pan oedd yr eglwys wedi, ac yn llygru mewn cerddoriaeth, cynhyrfwyd yr anfarwol Luther i gyfansoddi erddygan fel cynllun o wir gerddoriaeth eglwysig ; a pheth gynyrchodd ei awen ond yr hen ganfed : a diau y saif yn werthfawr ac yn uchel yn ngolwg pob cerddor cywir hyd ddiwedd amser—pan bydd sothach cymysglyd yn cael eu claddu oes ar ol oes.




# PENNOD VII.

## *DEFNYDDIAD TRRAWSGYWEIRIANT.*

Yr ydym eisioes wedi egluro natur a chyneddfau trawsgyweiriant; yr hyn sydd genym yn awr i'w wneyd yw crybwyll ychydig ar ei iawn ddefnyddiad: canys pan y defnyddir o yn fedrus, nid oes dim yn fwy effeithiol; ond os yn anfedrus, nid oes dim yn fwy gwrthun.

Dylid ystyried yn mlaenaf nad ellir defnyddio trawsgyweiriant mor gyffredin mewn erddyganau byrion, ag a ellir mewn darnau ac anthemau; canys prif wrthddrych y gelfyddyd yw yr olaf, ac nid y blaenaf. Canys y mae yn wir angenrheidiol mewn darnau meithion fyned trwy wahanol gyweiriau a chyweirnodau, a dychwelyd yn y diwedd i'r cywair gwreiddiol a chyntefig.

Dylid ystyried hefyd nad yw yn rheolaidd trawsgyweirio mor aml mewn cyfansoddiad tyner ac esmwyth

ag mewn cyfansoddiad nwyfus a chryf. Ond nid yw y naill na'r llall yn reolau difèth, ac i'w canlyn yn mhob amgylchiad. Gall yr erddygan fer ofyn trawsgyweiriad mor naturiol ac angenrheidiol, a'r dernyn hwyaf; a'r cyfansoddiad tyneraf fel yr un mwyaf cynhyrfus. Gan hyny yr unig reol naturiol a safadwy yn mhob amgylchiad, yw canlyn drychfeddyliau y geiriau yn y modd agosaf.

Rhaid i'r cyfansoddwr ystyried nodwedd y cyfansoddiad; a pha un a ydyw y trawsgyweiriad i'w ddwyn i mewn yn unig er mwyn amrywiaeth penodol, neu ynte er mwyn dangos rhyw ddrychfeddwl penodol. Galluoga hyn i'r cyfansoddwr farnu pa fodd i ymddwyn mewn amgylchiadau neillduol, a dengys iddo pa bryd i gilio yn mhell oddi wrth y prif gywair, a pha bryd i gadw yn agos ato—pa le i gilio yn ddisymwth (ac weithiau gyda gradd o erwindeb), a pha le y dylai symud yn araf a graddol; canys gellir defnyddio y cyfryw symudiadau yn foddion i'r darluniadau mwyaf godidog mewn cerddoriaeth.

Tybiwyf nad ellir rhoddi eglurhâd cywirach, na mwy cynwysfawr mewn ychydig o le, nag yn ngeiriau Piccini: "Trawsgyweirio yw canlyn llwybyr penodol. Fe ganlyna y glust chwi; ïe, y mae yn dymuno cael ei harwain genych, ond ar yr ammod, wedi i chwi ei harwain i bwynt penodol, fod digon i'w gwobrwyo am ei thaith. Ond os byddwch yn ddifater am ei harddelw, hi oddefa i chwi fyned yn mlaen, ac o'r diwedd yn hollol ddisylw; ac fe fydd pob ymdrech i ddwyn ei sylw eilwaith yn ofer."

Arwain y beroriaeth yn ol gwir natur ac ansawdd y cywair—ymgadw rhag cilio oddi wrtho ond ar reswm

digonol—trawsgyweirio er mwyn gwneyd rhyw ddarluniad penodol, neu amrywiad angenrheidiol—dychwelyd yn ol mewn amser a llwybyr addas—dyma ragorion y pwnc. Ac o'r tu arall, gadael cywair yn ddioedi bron cyn ei glywed--crwydro o amgylch heb na rheswm na gwrthddrych—neidio o amgylch o herwydd na ŵyr y cyfansoddwr pa fodd i lywodraethu ei hun—mewn gair, trawsgyweirio er mwyn trawsgyweirio, ynt droseddiadau ar y gelfyddyd.

**TERFYN Y BEDWAREDD RAN.**

# Attodiad.

Yn y dosbarth yma o'r Gramadeg, yr ydym yn bwriadu rhoddi ychydig o gyfarwyddiadau fel y gallo yr efrydydd ddwyn ei hunan yn alluog yn y rhan ymarferol o gerddoriaeth, heb gymhorth yr un athraw.

---

## PENNOD I.

### YMARFERIAD Y LLAIS.

Y wers gyntafa ddylai ddysgu, yw seinio yr wythawd yn rheolaidd a chywir, drwy esgyn a disgyn: fel hyn,—




Dechreued yr efrydydd drwy roddi y sain i G, gan ddyrchafu yn raddol i A, B, &c.; ond yn lle dweyd G, A, B, &c., wrth seinio, dyweded y rhifnodau, * 1, 2, 3,

---

* Ymddengys i mi fod defnyddio rhifnodau yn y gwersi hyn yn llawer iawn gwell nag unrhyw drefn arall; o herwydd fel hyny ceir gafael ar y prif bwnc y cyrchir ato yn yr ymarferiadau hyn, heb un math o ddyrysweh ar y ffordd, fel yn y dulliau ereill. Y prif bwnc yn ymarferiad y llais, yw ei gynefino i godi a gostwng yr holl gyfryngau yn unigol, gyda rhwyddineb a sicrwydd. Dylai hyny gael ei wneyd yn annghysylltiedig â llythyrenau y raddfa, ond yn unig mewn cysylltiad â'r cyweirnod, fel na byddo un rhwystr yn bod wrth newid y cyweirnod. Fe allai y dywedir fod anhawsdra yn y dull hwn, o herwydd fod "pedwar" yn ddeusill. Ond nid yw hyn o fwy o rwystr i'r Cymro nag i'r Sais; canys, er fod *four* (4) yn unsill, y mae *seven* (7) yn ddeusill. Gan hyny seiniant hwy ef yn *se'n*. Yr un modd gallem ninau ddweyd *pe'r*; ac er y clywir hyny yn beth chwithig ar y cyntaf, ychydig o arferiad a'i gwnai yn eithaf rhwydd.

"*Os* gwrthddadleua rhai mai darnio yr iaith fyddai hyny, onid gwell fyddai cael ein hiaith ein hunain yn llarpiog nag un estronol yn yr un dull? canys nid geiriau cyflawn ydynt y Sol, Ffa, &c., eithr darnau o eiriau allan o hen gân o goffadwriaeth am Ioan Fedyddiwr." Yr wyf wedi profi y dull yma yn un ragorol fy hunan. Gwel Grisiau Cerdd Arwest, tudal. 9, 10, 11; a'r Caniedydd Crefyddol, tudal. 13.

&c.; ac felly yn mhob un o'r anghreifftiau. Gall y efrydydd drawsddodi yr angraifft hon i unrhyw un o'r cyweirnodau.

Wedi iddo ymarfer yn ddigonol â hon, yr un fwyaf naturiol wedi hyny yw yr un a ganlyn:—




Y mae y wers hon yn hawdd a chyflawn. O un tu, y mae bod y nodau yn rhedeg i ddechreu o un i'r nesaf ato o ran pellder, yn gwneyd y neidiadau yn hawdd eu

cyrhaedd. Ac o'r tu arall, y mae yn cynwys pob cyfwng yn yr wythawd ar ei ben ei hun ; ac mewn ystyr, y mae yn ddigon o ymarferiad ynddi ei hunan.

Pan gallo yr efrydydd seinio y wers uchod yn dda, ymarfered yn nesaf â'r neidiadau yn unig: fel hyn,—




Wedi i'r efrydydd ymarferyd yn dda ar y gwersi uchod, eled at erddyganau, gan ddechreu gyda'r rhai hawddaf. Bydd ein sylwadau yn awr yn dyfod yn naturiol dan

---

## PENNOD II.

### *CANU YN DELEDIW.*

Wrth ganu yn deledi̇w y meddylir, canu yn drefnus, yn gywir, ac yn rheolaidd. Darllen cerddoriaeth ydyw canu—ac y mae cymaint o wahaniaeth rhwng gwahanol gantorion ag sydd rhwng gwahanol ddarllenwyr. Darllen cywir, yw siared yr ymadrodd yn ol ei natur a'i sylwedd; a chanu cywir yw canu yr erddygan yn ol ei natur a'i thestun. Fel y mae yn angenrheidiol i'r cyfansoddwr ddarlunio ei destun yn dêg mewn seiniau ceiddorol ; felly hefyd y dylai y canwr wneyd cyfiawnder â'r erddygan, drwy ei chanu yn ei hagwedd a'i hysbryd ei hunan. I gyrhaedd hyn, rhaid iddo ddal sylw yn

1. Ar yr erddygan.

Pan byddoch yn myned i ganu unrhyw erddygan, y peth blaenaf a ddylech wneyd yw ystyried beth yw y cyweirnod, yr hyn a ellwch wybod ond deall trawsddodiad y cyweiriau. Yna rhoddwch y sain briodol i'r nod, heb fod yn rhy uchel neu rhy isel: tuag at gyrhaedd hyn, dylech ymarfer â seinio yr wythawd, fel y cynefinoch â phriodol sain pob nod, neu brynu cyweirfforch.

Wedi hyny ystyriwch pa gywair ydyw, pa un ai llon ai lleddf. Os llon a fydd, mynwch afael yn y trydydd mwyaf; ond os lleddf, mynwch afael yn y trydydd lleiaf; canys heb i'r cywair llon gael ei drydydd mwyaf, a'r lleddf ei leiaf, nid ellir canu yr erddygan yn effeithiol.

I gael y trydydd mwyaf, seinier rifres o nodau tebyg i hyn,—



Gellir cael y trydydd lleddf, fel hyn,—



Yn olaf, ystyriwch amser yr erddygan. Y mae canu unrhyw gyfansoddiad yn wallus o ran amser, yn ddinystr mawr i'r unrhyw. Nid hawdd penderfynu pa un ai canu yn rhy araf, neu yn rhy gyflym, yw'r mwyaf dinystriol: dylid gochelyd y naill a'r llall. A thuag at hyny, rhaid dal sylw ar y modd, a chyfartalwch y nodau i'w gilydd.

II. Y Geiriau.

1. Y peth blaenaf mewn perthynas i'r geiriau, yw eu

deall—eu deall o ran iaith,* ac o ran ystyr.† Heb hyn bydd yn annichonadwy eu canu yn gywir.

2. Yn nesaf at ddeall y geiriau, dylech ymweithio i ysbryd a theimlad y geiriau; canys os na bydd ysbryd a theimlad y geiriau yn argraffedig ar y meddwl, y galon, a'r dull, nis dichon un argraff cyfatebol gael ei wneyd ar y gwrandawwyr; ac felly collir dyben y cyfansoddiad.

3. Eu canu yn yr ysbryd hyny. Nid anmhriodol fyddai dyfynu sylw Ieuan Ddu ar y pen yma. "Pa mor chwithig fyddai clywed dyn yn bloeddio neu fugunad allan â'i holl egni y geiriau canlynol—

"Melusach nag yw'r diliau mêl,
Yw mynyd o'th fwynhau."

neu glywed un arall yn lledganu gyda holl fursendod a ffug-wendid gwniadyddes Seisnig,

" O'r bedd cyfodai'n Harglwydd cu,
"Esgynodd i'r uchelder fry!
" Galluoedd uffern lusgodd ef,
" Yn gaeth hyd byrth dysgleirwych nef;
" Fry, fry, ei gerbyd heibio'r sêr!
" Côr ganu, clywch! angelion Nêr—
"Eich penau codwch, byrth y ne',
"Chwi, ddrysau oesol, rhoddwch le!'
"Trowch 'nol eich barau eurwych trowch!
" A'r ffordd yn rhydd i'r orsedd rhowch!
" Gwnewch lwybyr rhydd hyd drigle'r elod—
"Brenin gogoniant 'nawr sy'n dod."

---

* Y mae hyn yn dangos y dylid defnyddio geiriau o iaith amlwg a dealladwy—nid yw hyny yn un rhwystyr i fod yn farddoniaeth da, nac yn iaith dda a thlws.

† Cof genyf am un yn canu y pennill,

Ar Galfari yn ngwres y dydd
Y cawd y *gwystyl* mawr yn rhydd,

fel hyn,—

Ar Galfari yn ngwres y dydd
Y cawd y *bwystfil* mawr yn rhydd.

4. Seinio y geiriau yn gywir. Dylid bod yn ofalus i roddi i bob llythyren ei sain briodol. Nid rhoddi sain e, i a, na sain y, i e; ond pob llythyren ei sain ei hun. Nid oes dim yn fwy gwrthun nâ chlywed rhai yn bloeddio seiniau aflerw ac anmbriodol. Y mae hyny yn nod amlwg o anwybodaeth. Y mae sylw Ieuan ar y pwnc yma eto yn dra phriodol i'w ddyfynu. "Seiniwch eich geiriau yn gyflawn a pherffaith: byddwch mor ofalus am seinio pob gair a llythyren mor eglur a llawn a phe byddech yn areithio. Clywais rai cantorion a fyddent yn cnoi a thraflyncu eu geiriau yn y fath fodd ag a wnai eu canu yn debycach i chwyrniad anhyfryd nag i fawl peraidd-lwys creaduriaid rhesymol. Dywedir gan rai nad yw y Gymraeg yn seinio cystal mewn canu ag yw y Saesonaeg.

Od oes rhith o wirionedd yn yr haeriad hwn, y mae i'w briodoli i'r modd annhrefnus y mae cantorion yn seinio eu geiriau. Rhoddwch i bob gair ei gyflawn a'i briodol sain, yna o ran iaith, ni fydd achos genych bryderu canu am y goreu â chantorion yr Eidal (iaith yr hon wlad a gyfrifir yn bereiddiaf i'r glust o holl ieithoedd Ewrop)."

III. Y llais. 1. Yn gyntaf, dylid bod yn ofalus i ddewis y rhan hyny o'r erddygàn, a gydagweddo oraf â'r llais: megys na ddylai un â llais cymhwys i ganu isalaw gynyg canu y mysgalaw; ac yn y gwrthwyneb.

2. Pan byddo y rhan a fyddwch yn ganu yn rhedeg i fyny uwch law cyrhaeddiad naturiol ac esmwyth y llais, byddwch yn ofalus i seinio y nodau hyny yn wan.

3. Na chanwch yn rhy gryf. Nid canu yw bloeddio a gwaeddi. Bydded eich canu bob amser yn esmwyth a rhwydd.

IV. Ystumiau y corph. "Bydded i chwi bob amser sefyll ar eich traed i ganu, a gochelwch wneuthur dim

rhyw ystumiau anweddus â'ch genau, eich dwylaw, na'ch traed. A pheidiwch byth âg edrych a llygad-rythu oddiamgylch; canys y mae hyny yn dangos ysgafnder ac anweddeidd-dra mawr: ond bydded eich holl agwedd yn brydferth, ac yn llednais, fel y gweddai i un yn MOLIANNU'R ARGLWYDD." *

V. Addurniadau, &c. Pan y cyfarfyddwch â nodau addurnol, byddwch yn ofalus o'u dadganu yn gywir yn ol y cyfarwyddiadau a roddwyd; ac yn niffyg i chwi allu gwneyd hyny, na chynygwch eu dadganu yn gyhoeddus mewn un modd. Pan gyfarfyddwch â mannod ar ol unrhyw nodyn, na churwch â'ch llais fel pe baech yn rhoddi ergydion y naill ar ol y llall, fel y gwna llawer; ond cedwch eich llais yn unffurf ac ansymudol ar y sain; cyhyd ag y gofyna y nod a'i fannod.

VI. Gwnewch arferiad o ganu yn ddyddiol. Nid oes dim yn well nâ chanu mewn llawer ystyr. Os wyt yn fyfyriwr caled, dysg ganu—canys nid oes dim sydd well i adfywio y meddwl pan byddo wedi llesgau yn fawr trwy efryd. † Os wyt yn wan yn dy ysgyfaint, dysg ganu—canys nid oes dim sydd well tuag at eu cryfhau. ‡ Os wyt am fod yn areithiwr llafar-ber, dysg ganu—canys nid oes dim yn well i ddysgu iawn aceniad a phwyslais. Os wyt am wellau dy lais i unrhyw ddyben, dysg ganu—canys nid oes dim mor effeithiol i hyny. Ac uwch law y cwbl, os wyt am foli dy Grewr yn un o'r

* W. Owen.

† Y mae hyn lawer gwell nâ'r bibell ddrewllyd, y trewlwch budyr, a'r cyffelyb.

‡ Camgymeriad mawr yw meddwl fod canu yn niweidiol i rai gwan; nid yw yn niweidiol i neb; ond yn hytrach yn y gwrthwyneb, fel y gallem brofi pe caniataai ein terfynau, oddi wrth waith awduron enwocaf yr oes. Mae'n wir fod gormod o hyn yn ddrwg, fel pob peth arall.

dulliau goraf a mwyaf effeithiol, dysg ganu—canys nid oes dim yn fwy cymeradwy ganddo (os gwneir yn gywir,) nac yn fwy dyddanol i tithau.

VII. Cana yn ol y crybwyllion yma nes cei eu gwell.

# GEIRLYFR.

*Yn y Geirlyfr canlynol rhoddir yr holl enwedigaethau, a chyfeiriad at y lleoedd yr eglurir y pwnc. Hefyd, chwanegwyd y geiriau a dybid yn annghyfarwydd, a rhoddwyd eu hystyr fel y defnyddiwyd yn y gwaith hwn.*

## A.

| | Tudal. |
|---|---|
| Aceniaeth *(acan)* athrawiaeth mydraeth, &c. *rhythm* . . . . | 92 |
| Adferiad *(adfer)* yr annghydseiniaid; *resolution of discords* . . . . | 154 |
| Adran *(ad-rhan)* rhaniad bychan; mewn cerddoriaeth; *a phrase* . . . | 225 |
| —— ei ddefnyddiad . . . . | 251 |
| Addurnnod *(addurn-nod)* nod i harddu'r sain; *grace note.* . . . . | 13 |
| Ailadroddnod *(ailadrodd-nod) a repeat* . . | 12 |
| Alaw *(al-aw)* prif lais yr erddygan; *the air* . | |
| Allwedd *(all-gwedd) a cliff* . . | 2 |

☞ Y dull y byddai yr henafiaid yn trefnu yr erwydd oedd ysgrifenu y raddfa yn nechre yr erddygan; a thrwy hyny yn dangos pa sain a roddid i'r holl nodau: fel hyn,—

Ff
E
D
C
B
A
G

Nid oedd ond pedair llinell mewn arferiad y pryd hyny, canys nid oedd yr wythawd wedi ei gael allan.

Er nad oes ond dau allwedd mewn arferiad cyffredin yn bresenol, fel yr eglurwyd yn y gramadeg; eto fe geir yn mhob hen lyfr chwaneg o honynt, fel y gwelir yn nhudalen 244. Yr

allwedd gs. a ysgrifenid bob amser ar yr ail linell, ac yn cynddrychioli y lythyren *g*. Yr allwedd a elwid yn allwedd C, ac a ddefnyddid ar y pedair llinell isaf yr erwydd, yn ol fel byddai chwaeth y cyfansoddwr yn ei dueddu; ond lle bynag y gosodid ef, yr oedd bob amser yn cynddrychioli y lythyren *c*: fel hyn,—

*Allwedd C ar y linell isaf.*




*Allwedd C ar yr ail linell.*




*Allwedd C ar y drydedd linell.*




*Allwedd C ar y bedwaredd linell.*



Amser (*amser*); *time* . . . . 5

☞ Eglurwyd amser yn y gramadeg fel y defnyddir yn gyffredin mewn cerddoriaeth eglwysig; ond gan fod rhai moddau ereill o'r ddau amser yn dygwydd weithiau, efallai mai buddiol yw rhoddi ychydig o eglurhâd arnynt yn y lle hwn. Y ddau yma a elwir yn *amser cyffredin cyfansawdd*, ac *amser triphlyg cyfansawdd.*

1. Nid yw yr amser cyffredin cyfansawdd yn ddim amgen nâ dau fan o'r amser triphlyg gwedi eu gwneyd yn un: ac a adnabyddir wrth y rhifnodau hyn,—$\frac{6}{4}$, $\frac{6}{8}$, $\frac{12}{8}$, $\frac{12}{16}$. Gelwir y ddau fodd olaf yn amser cyffredin cyfansawdd dwbl.

*Angraifft o'r Moddau.*



Chwech corfanig mewn ban.



Chwech crychyn mewn ban.



Deuddeg crychyn mewn ban.



Deuddeg adgrychyn mewn ban.

2. Nid yw yr amser triphlyg cyfansawdd yn ddim amgen nâ thri ban o'r amser triphlyg gwedi eu gwneyd yn un, ac a adnabyddir wrth y rhifnodau canlynol,—$\frac{9}{4}$, $\frac{9}{8}$, $\frac{9}{16}$.

*Angraifft o'r Moddau.*




Naw corfanig mewn ban.




Naw crychyn mewn ban.




Naw adgrychyn mewn ban.

Amser cyffredin; *common time* . . . . . . 5
—— triphlyg; *triple time* . . . . . . 6
—— curiad; *beating of time* . . . . . . 7
Aniandraw (*anian-traw*) athrawiaeth cyfansoddiad anian; *physiology*
Annghydsain (*an-cydsain*); *a discord* . . . 137
—— y brif; *fundamental discords* . . 126
—— addurnol; *discords of embellishment* . 151
—— trwyddedol; *discords of licence* . . 247
Angraifft (*a-graifft*) cynllun i egluro peth; *an example*
Arddelwi (*arddelw*) honi, ceisio; *to claim*
Arddull (*ar-dull*) ffurf o gyfansoddi; *style*
Arddunawl (*arddun*) goruchel o ran lle neu arddull; *sublime*
Arwyddnodau (*arwydd-nodau*) . . . . . 11
Attodiad (*at-dodiad*) chwanegiad at beth; *appendix*
Athroniaeth (*athrawn*) gwybodaeth o ddeddfau; *philosophy*

B

Ban (*an*) *a bar* . . . . . 12
—— dyblyg; *double bar* . . . . —
Banig (*ban*) y nod hwyaf o ran amser; *semibreve* 3
Byrsain (*byr-sain*) *stacato* . . . 13
Barcud (*bar-cud*) aderyn tra adnabyddus; *a kite*
Brawddeg (*brawdd*) ymadrodd byr; *a sentence* .

## C

Camwri (*cam*) gwallddefnyddiad; *abuse*
Caniadaeth (*caniad*) y gyfundraeth ganiadol; *the science of song* . . . 174
Canu (*cân*) *to sing* . . . . . 174
—— y pethau angenrheidiol er . . 177
—— yn rhan o addoliad y gwir Dduw . . 178
Cedydd (*cêd*) un a fo yn masnachu mewn arian; *a banker*
Celfyddyd (*celfydd*) egwyddorion gwedi eu dwyn i ymarferiad; *art*
—— cerddoriaeth fel . . . 173
Cerddoriaeth (*cerddor*); *music* . . 169
—— eglwysig . . 187, 195
—— Gymreig . . . . 201
—— foesol . . . . 194
—— wladol . . . —
Cord (*côr*) *a chord* . . . . 125
—— cyffredin; *common chord* . . 126
—— y chweched . . . . 132
—— y chweched a'r pedwarydd . . 133
—— y seithfed . . . . 137
—— y chwech pump . . . 140
—— y pedwar tri . . . . 141
—— y pedwar dau . . . 142
—— y saith pedwar dau . . . 143
Corfan (*cor-ban*); *a metrical foot* . . 96
—— rywiog . . . . 97
—— talgrwn . . . . 101
—— crych ddisgynedig . . . 112
Crebwyll (*cre-pwyll*) y gallu sydd yn y meddwl i ffurfio delweddau; y dychymyg; *fancy, imagination*
Crychyn (*crych*) y pedwarydd nod o ran amser, *quaver* . . . . 3
Cydbwysol (*cyd-pwys*) annghydseiniaid; *discords of suspension* . . . . 149
Cydgerdd (*cyd-cerdd*) cydgynulliad cerddorol; *a concert*
Cyfeirnod (*cyfair nod*) *direct* . . 12

Cyfrwng (*cyf-rhwng*) y pellder rhwng dau nod; *an interval*
Cyfansoddiant (cyfansawdd); *composition* . 168
———— Peroriaeth . . 231
———— Cynghanedd . . . 235
———— gwahanol leisiau . . . 241
Cynddrych (*cyn-drych*) angraifft o beth; *a specimen*
Cynrywiol (*cynryw*) hanfodol; yr hyn sydd a gwreiddyn iddo; *essential.*
————annghydseiniaid . . . 148
Cyntefig (*cyntaf*) dechreol; *original*
Cydsain (*cyd-sain*) cydasiad dau neu chwaneg o seiniau; *a concord*
Cydseiniad, y, . . . . 126
———— eu defnyddiad mewn cyfansoddi . 236
———— trwyddedol mewn cyfansoddi . 245
Cymesuriant (*cymesur*) iawn gyfartalwch rhanau mewn cyfansoddi; *symmetry*
Cynghanedd (*cynghan*) *harmony* . . 125
———— cyfansoddiant . . . 235
———— addurnol . . . . 239
Cywair (*cy-gwair*) *a key* . . . 34
———— llon naturiol . . . . 37
———— lleddf naturiol . . . 38
———— mwyaf . . . . 40
———— lleiaf . . . . 40
Cyweirnod (*cyweir-nod*); *key note* . . 35
———— athroniaeth y pwnc . . 35
———— perthynasol . . . 32

## Ch

Chwaeth [*chwa-eth*] blas neu archwaeth y meddwl; *taste*
Chweched [*chwech*] *sixth*
———— lleiaf . . . 19
———— mwyaf . . . . 20
———— gorleddf . . . 27
———— lleddf goslefol . . 27
———— llon goslefol . 27
———— gorlon . . . . 28
Chwyddnod [*chwyddnod*] *a swell* . . 14

D.

Dadgeinydd (*dadgan*) un a fo yn dadganu neu yn cyflawni y gwaith ; *a performer*

Daiareg (*daiar*) gwybodaeth o'r gwahanol sylweddau y mae y ddaear yn gyfansoddedig o honynt; *geology*

Diweddeb (*diwedd*) ; *a cadence* . . 157

——— anmherffaith . . . 158

——— perffaith . . . 159

Diweddglo (*diwedd-clo*) *a close* . . 12

Diweddnod (*diwedd-nod*) *a period* . . 225

——— ei ddefnyddiad . . . 252

Diwylliant (*diwyll*) addysg, meithriniad ; *culture*

Dosran (*dos rhan*) rhaniad i ddosparth ; *a section* 225

——— ei ddefnyddiad . . . 251

E

Eilfed (*ail*) *a second*

—— lleiaf . . . . 17

—— mwyaf . . . . . 18

—— lleddf goslefol . . . 24

—— llon goslefol . . . . . 24

—— gorlon . . . . 25

Efryd (*e-bryd*) myfyrdod ; *study*

Efrydydd (*efryd*) myfyriwr ; *a student*

Enwedigaeth (*enwedig*) gair neillduedig ar beth ; *a term*

Erddygan (*er-dygan*) cyfansoddiad cerddorol,

Erwydd (*erw*) *the stave* . . . 1

Ff

Ffaith (*ffa-aith*) peth gwneuthuredig, gwiredd ; *a fact*

G

Gogwyddon (*gogwydd*) *appogiatura* . . 13

Gorfanig (*gor-banig*) y trydydd nod o ran amser ; *crotchet* . . . . . 3

Gorgrychyn (*gor-crychyn*) y nod buanaf o ran amser ; *demisemiquaver* . . . 3

Gorleddf (*gor-lleddf*) yr hyn sydd yn dra lleddf ; *extreme flat* . . . .

Gorlon (*gor-llon*) yr hyn sydd yn dra llon ; *extreme sharp*

Gorphwysfa (*gorphwys-ma*) man i aros ; *a pause* 225
Gorphwysnod (*gorphwys-nod*) ; *a rest*
Gorphwysion . . . . . 4
Gorseiniol (*gor-seiniol*) yr hyn sydd yn dra seiniol ; *enharmonic*
——— y raddfa . . . . . 29
——— y cyfrwng . . . . . 30
Goseb (*go-saib*) arosiad, gorphwysiad : *a pause*
Goslefol (*goslef*) hannertonol ; *chromatic*
——— y raddfa . . . . . 22
——— yr hanner tôn . . . . 23
Gramadeg (*gramad*) llyfr yn cynwys trefniant egwyddorion peth ; *a grammar*. Dywed rhai yngryfmai basdarddair yw *gramadeg*, o *grammar* y Saesonaeg, gan hyny y dylid ei sillebu â dwy *m*. Ond dywed y Dr. Pugh ei fod yn deilliaw o *gramad*, sef *peth wedi ei dderchafu yn arwydd*. Gwel ei Eirlyfr mawr, argraffiad cyntaf, a'r geirlyfr bach, tan y gair.
Graddfa (*gradd-ma*) *a scale* . . . 15
Gwronaidd (*gwron*) mawrfrydig, arwraidd ; *heroic*
Gwrthddull (*gwrth-dull*) *inversion*
——— peroriaethol . . . 21
——— cynghaneddol . . 132, 148
Gwyddoreg (*gwyddawr*) cyfundraeth o egwyddorion gwybodaeth ; *science*
——— cerddoriaeth fel . . . 172

Ll.

Lleddf (*lledd*) *flat* . . .
——— gywair . . 38
Lleddfnod (*lleddf-nod*) ; *a flat* . . 11

Ar rai orleisiau defnyddir lleddfnod dwbl yr hyn sydd yn effeithio ar gyfrwng fo wedi ei leddfi unwaith o'r blaen : fel hyn;



B leddf. B dwbl leddf.

Y mae y lleddfnod dwbl yn dwyn y cyfrwng hyny i'r raddfa orseiniol, fel yn yr angraifft uchod—y mae gwahaniaeth o hanner tôn rhwng y B leddf ac A naturiol; ond mewn ystyr cyffredinol nid oes dim gwahaniaeth rhwng y B dwbl leddf ac A naturiol; eithr mewn ystyr feirniadol ac athronyddol, y mae cyfrwng gorseiniol o wahaniaeth.

Nid anmhriodol fyddai sylwi yn y fan yma, fod lleddfi nod uchaf unrhyw gyfrwng, yn effeithio yr un fel ar y cyfrwng hwnw, ag ydyw lloni y nod isaf: a lloni y nod isaf, yr un fel a lleddfi y nod uchaf.

Er angraifft, wrth sylwi ar y raddfa oslefol, dywedwyd fod y trydydd lleddf goslefol yn cael ei ffurfio ar y trydydd mwyaf naturiol, trwy ei leihau un hanner tôn drwy effaith y lleddfnod: fel hyn,



Gellir ffurfio yr un cyfrwng heb ddefnyddio y lleddfnod, drwy roddi y llonnod ar C: fel hyn,—



Llithren [*llithr*] *a slur* . . . . 12
Llon (*lly on*) *sharp*
—— gywair . . . . 37
Llonnod (*llon-nod*) *a sharp* . . . 11

Defnyddir llonnodau dwbl yr un fel a lleddfnodau dwbl, y rhai sydd yn effeithio ar gyfrwng a fo wedi ei loni eisioes; ac a nodir gyda chroes: fel hyn,—



Y mae y llonnod dwbl hefyd yn dwyn y cyfrwng i'r raddfa orseiniol.

M

Mannod (*mân-nod*) *a dot* . . . 12

—— dyblyg . . . . —

Mawsaidd (*maws*) seingar a rheolaidd; *melodious*

Meinllais (*main-llais*) y llais a genir gan fenywaid a phlant; *treble*

Mirain (*mir*) peth hardd, teg; *beautiful*

Mwyalch (*mwy-alch*) yr aderyn dû; *the blackbird*

Mydraeth (*mydyr*) y drefn o wneyd barddoniaeth; *versification*

Mydyr (*mŷd*) natur neu drefn symudiad barddoniaeth a cherddoriaeth; *metre, rhythm*

Mysgalaw (*mysg-alaw*) y llais sydd yn symud rhwng y cyfalaw a'r uchalaw; *counter*

N

Namyn (*nam*) oddieithr; *except*

Naturiol (*natur*) *natural* . . . 12

Nod (*no-od*); *a note* . . . . 3, 16

—— arweiniol; *the leading note* . . 55

Arferai yr henafiaid dri math o nodau nad ynt mewn arferiad yn bresenol; sef y Mwyafnod, yr Hirnod, a'r Manig. Llun y nodau a'u gorphwysion sy fel hyn,—



*Mwyafnod a'i or.* *Hirnod a'i or.* *Manig a'i or.*

Nodeb (*nod*) yr hyn sydd yn ffurfio cymeriad neu nodweddiad; *characteristic*

Nodian (*nod*) *notation* . . . 1

Nodwedd (*nod-gwedd*) cymeriad, nodweddiad; *character*

Nwyfus (*nwyf*) llawn o fywiogrwydd a theimlad; *spiritful*

## P

Parotoad [*parotoi*]yr annghydseiniaid ; *preparation of discords* . . . . 154
Pedwarydd [*pedwar*] *a fourth*
—— perffaith . . . . 19
—— llon . . . . 19
—— gorleddf . . . . 26
—— lleddfgoslefol . . . 26
—— llon goslefol . . . 26
—— gorlon . . . 26
Peiriannwaith [*peiriant-gwaith*] iawn gyfansoddiad rhanau ; *organization*
Peroriaeth [*perawr*] *melody* . . 15
—— cy fansoddiad . . . 231
Pryddest [*pryd*] cyfansoddiad barddonol ; *a poem*
Pummed [*pump*] *a fifth*
—— lleddf . . . . 19
—— perffaith . . . 19
—— lleddf goslefol . . . 26
—— llon goslefol . . . 27
—— gorlon . . . . 27
Pwyslais [*pwys-llais*] *emphasis*
—— mewn barddoniaeth . . . 93
—— mewn cerddoriaeth . . 123
—— peiriannol . . . . 95
—— sillafog . . . 95

## Rh

Rhaiadr [*rhaiad*] cwympiad trystfawr mewn dwfr ; *a cataract*
Rhifnod addurnol [*rhifnod-addurnol*] *a license of time*
Rhifres [*rhif-rhes*] dylyniad ; *a series*
Rhwymyn [*rhwym*] *a brace*

## S

Safon [*saf*] maenprawf ; *a standard*
Saib (*sa*) *a pause*
Seithfed (*saith*] *a seventh*
—— pummawl ; *domuniant seventh*
—— lleiaf . . . . 20

Seithfed mwyaf . . . . . 20
——— lleddf goslefol . . . . 28
——— llon goslefol . . . 28
——— gorlon . . . . . . 28
——— lleddf mewn cynghanedd . . 247
——— gorleddf mewn cynghanedd . . 248

Sol ffa—y drefn a ddychymygwyd gan *Guido Aretinus*, mynach o Arezzo yn Tuscany, i ddysgu ac ymarfer â seiniau cerddoriaeth: fel hyn,—




Sylw. Nid oedd ond chwech o seiniau mewn arferiad y pryd hyny.

Y sillau yma a gymerwyd allan o bennill Paulus Diaconus i Ioan Fedyddiwr—sef,

UT queant laxes,
REsonare fibris,
MIra gestorum,
FAmuli tuorum,
SOLve polluti,
LAbii reatum,
Sancte Johannes.

Pa un a wyddai Guido am Seithfed sain ai peidio, y mae hyny yn ammheus: ond beth bynag, y mae'n amlwg nad oedd mewn arferiad. Gan nad oedd ond tri chywair mewn arferiad y pryd hyny, sef C, Ff, ac G, gellir egluro cyfundraeth Guido yn yr angreifftiau canlynol.



*Ut re mi fa sol la.*

*Y chwechawd durfin* yn G.*



*Ut re mi fa sol la*

*Y chwechawd masw† yn Ff.*



*Ut re mi fa sol la.*

Chwanegodd *La Maire* o Ffrainc y seithfed, ac a'i galwodd yn *si*. Yr Eidaliaid hefyd a gyfnewidiasant *ut Guido* i *do,* er mwyn meddalwch sain.

Dyben y gyfundraeth hon oedd dangos ac egluro natur a gallu y cyfryngau; ond er ys blynyddoedd bellach, y mae *do* a *re* yn cael eu gadael allan fel yn ddiangenrhaid, a *sol, la, mi, fa* yn unig yn cael eu defnyddio drwy yr wythawd: fel hyn,—



*Sol la mi fa sol la fa sol.*

Yr hyn a ellir ddysgu yma yw fod y cyweirnod yn *sol* a'r hanner tonau ar y cyfrwng nesaf islaw y ddwy *fa*. Rhaid i'r efrydydd gofio sefyllfaoedd y *fa* cyn y gall wneyd defnydd o'r gyfundraeth. Ac wedi y cwbl, nid oes dim iddo gael ond sefyllfaoedd yr hanner tonau.

Yn amser Guido, yr oedd ei gyfundraeth ef yn welliant mawr mewn cerddoriaeth, rhagor yr un oedd o'r blaen: ond yn awr y mae y

---

* Gelwid chwechawd G yn ddurfin (*durum*) o herwydd y gerwinder sy rhwng ff naturiol a b naturiol.

† Gelwid chwechawd Ff yn fasw (*molle*) o herwydd fod lleddfnod ar b yn dwyn durfindra y cyfrwng ymaith.

wybodaeth wedi ei dwyn i'r fath eglurder a symledd, fel mai ffolineb yw i ni ymarfer â hi.

**Symledd** (*syml*) eglurdeb digelfydd; *simplicity*.

## T

**Tarawiad** (*taraw*) *percussion* . .
——— yr annghydseiniad . . . . 154
**Ton** (*to-on*) *a tone* . . . 16
**Trawsddodiad** (*traws-dodiad*) *transposition* . 40
——— trwy lonnodau . . 41
——— trwy leddfnodau . . . 48
**Trawsgyweiriant** (*traws-cyweiriant*) *modulation* 53, 160
——— o'r cyweirnod llon . . 55
——— o'r cyweirnod lleddf . . 72
**Trydonol** (*trydon*) yr hyn sydd yn myned trwy donau; *diatonic*
**Trydydd** (*tri*) *a third*
——— lleiaf . . . . 18
——— mwyaf . . . . . . —
——— gorleddf . . . 25
——— lleddf goslefol . . . —
——— llon goslefol . . . —
——— gorlon . . . . —
**Trwyddedol** (*trwydded*) *license* . .
——— cydseiniaid . . . 245
——— annghydseiniaid . . 248
**Trysawd** ( *try-sawd* ) y drefn o rifnodi cynghanedd; *thourough bass* . . . 126, 167

Y mae yr efrydydd yn deall erbyn hyn, oddi wrth y defnydd a wnaethom o rifnodau wrth egluro cynghanedd, nad oes dim mwy mewn trysawd, nâ defnyddio rhifnod i ddangos y cyfryngau: hyny ydyw, i ddangos y pellderau a ddefnyddir oddi wrth yr isalaw. Er angraifft, defnyddiwn ddernyn o'r hen ganfed : fel hyn,—



Y rhifnodau yma a ddengys pa gord sydd yn perthyn i bob un o'r nodau; gan hyny gellir eu llanw fel hyn,—

7 8 6 7♯6 5 6 6— 8 7
4 3 ♯
2

Dywedir mai *Ludovicus Vidiana* o'r Eidal a ffurfiodd y drefn yn gyntaf, o gylch y flwyddyn 1600, ac a'i galwodd yn *Basso Continuo*. Pa un oedd *Ludovicus* yn canfod yr egwyddor *fod pob cord rheolaidd unai yn wreiddiol neu gynrywiol* ai peidio, nis gwyddom. Dywed *Rameau*, yn ei *Demonstration du Principe de l' Harmonie* * fod rheolau trysawd hyd ei amser ef yn bur afreolaidd; ac iddo yntau eu gosod mewn trefn. Y peth tebycaf yw, i *Rameau* wneyd gwelliant yn y gyfundraeth, a rhoddi enwedigaethau ar ei gwahanol ranau; ond y mae yn beth anhygoel, fel y sylwa *Dr. Burney*, fod cyfansoddwyr mawr yr Eidal a'r Almaen yn anwybodus am yr egwyddor. Ac yn wir y mae *Dr. Pepusch* o Prussia yn dangos ei fod yn

* Cyhoeddwyd yn Paris, 1750.

eithaf gwybodus o hyn yn ei draethawd ar gynghanedd, yn y flwyddyn 1731. Felly anhawdd meddwl iddo ei gael oddi wrth *Rameau*, gan na chyhoeddodd yr olaf ddim ar gerddoriaeth cyn y flwyddyn 1722. Ond boed hyn fel y bo, y pwnc yn awr yw deall ac arfer y wybodaeth.

Yn tudalen 167 rhoddasom y rhifnodiad mwyaf cyfundraethol a allem, ond nid yr un fel y mae pob cyfansoddwr yn gwneyd—cyfarfyddwn yn aml â'r drefn ganlynol,—

| *Yn lle* | *defnyddir* | *Yn lle* | *defnyddir* |
|---|---|---|---|
| 6 | 8<br>6<br>3 | 4<br>3 | 6<br>4 neu 6<br>3 |
| 6<br>4 | 8<br>6<br>4 | 4<br>2 | 6<br>4 neu 4<br>2 |
| 7 | 7<br>5<br>3 | 7<br>4<br>2 | 7<br>4 neu 7<br>2 |
| 5 | 6<br>5<br>3 | | |

DIWEDD Y GEIRLYFR.

# DIWEDDGLO.

DDARLLENYDD HYNAWS,—

Dyma fi o'r diwedd yn terfynu fy llyfr bychan; beth yw dy feddwl di am dano? pa un ai dy foddloni ai dy siomi a gefaist ynddo, nis gwn. Ti a weli i mi ganlyn y cynllun cyntefig yn nygiad y gwaith hwn allan, ac na adewais ddim o bwys * heb sylwi arno, a addawyd ar y cyntaf; ond yn hytrach yn y gwrthwyneb. Fy amcan ar y cyntaf oedd rhoddi cyfundraeth reolaidd o egwyddorion cerddoriaeth, a'u cymhwyso at y Cymry a'u hiaith—pa mor belled y cyflawnwyd hyny, gadawaf i'r galluog farnu.

Nid wyf mor ffol a meddwl fod y Gramadeg hwn yn hollol rydd oddiwrth feiau, yn fwy nâ llyfrau dynolion yn gyffredin. Ni chyrhaeddodd neb erioed mo hyn, ac ni wna neb byth. Tra bo y meddwl yn eangu ei ddirnadaeth mewn unrhyw wybodaeth, rhaid y bydd yn alluog i wellau y gyfundraeth yn feunyddiol.

Beth bynag, y mae yn dda genyf feddwl fod cymaint o feirniaid galluog gwedi cael y fath foddlonrwydd ynddo, —rhai o honynt gwedi ei adolygu yn gyhoeddus, ac ereill yn gyfrinachol—oll yn y dull mwyaf tirion, boddhaol, ac annogaethol. Ac yn mhlith y lluaws a'i cymeradwyant fel hyn, ni chlywais am neb a siomwyd ynddo, ac a'i diystyrant yn y radd leiaf. Er hyny nid wyf yn rhagithio i mi fy hun fod y Gramadeg yn sicr o foddloni pawb yn fwy nâ llyfrau ereill: canys fel y dywed y bardd,—

"Ni fu y llyfr na feiodd—rai arno,
Ryw oernaws ymadrodd;
Mewn einioes y mae'n anodd
Werthu i bawb wrth eu bodd.

---

* Yn ein cynllun cyntefig, addawsom roddi traethawd ar ath·

Ond yr wyf yn hollol gredu mai y rhai mwyaf anhawdd eu boddhau yw coegathrawon hannerdysgedig: canys nid oes dim yn fwy tueddol i ddyn pan byddo yn dechreu deall rhyw wybodaeth, nâ thybio ei fod yn deall y cwbl. Felly,—

Dofn o ddysg, nid dwfn iddo—yn union,
A enyn y bendro;
Ond yfer, drachtier am dro,
Y dotrwysg, hyn a'i dattro.

Terfynaf yn ngeiriau Dr. Johnson,—" Y sawl sy ganddo lawer i'w wneyd, a wna rywbeth yn chwithig, ac am y peth chwithig hyny rhaid iddo ddyoddef y canlyniadau: a phe bae yn ddichonadwy iddo fod yn gywir bob amser, eto, pan y mae cymaint i farnu ei ymddygiadau, fe feia ac fe wrthwyneba y drwg ef mewn dygasedd, a'r da ambell waith mewn camgymeriad."

---

roniaeth sain, beirniadaeth ar erddyganau gwallus o ran eu peroriaeth a'u cynghanedd, ac anerchiad at flaenoriaid canu—dyma'r unig bethau na chyflawnwyd o'r hyn a addawwyd.

Fe welir ein rheswm am beidio rhoddi y traethawd i mewn yn nhudalen 125.

Attaliasom ein beirniadaeth yn unig rhag i'n cyfeillion dybied ein bod yn gwneyd hyny oddi ar adgasrwydd a dichell; canys y pryd yr addawwyd hyny nid oedd gan yr awdur y bwriad lleiaf o fod âg un llaw yn y casgliad tonau, sef Caniadau Seion a fwriadid y pryd hyny ei ddwyn allan gan ein cyfaill R. Mills. Wrth feirniadu, y mae'n naturiol meddwl y buasem yn dewis erddyganau yn mlaenaf o'r casgliadau sydd gan y Cymry eisioes; ac wrth wneyd hyny buasem o angenrheidrwydd yn dynoethi eu gwaeleddau. Ond wedi i mi ymuno â'm cyfaill at y gorchwyl songiedig, penderfynasom mai goraf oedd peidio â gwneyd hyny, a gadael i'n cydwladwyr farnu drostynt eu hunain, oddi wrth egwyddorion Cerddoriaeth.

Rhoddir yr Anerchiaid at Flaenoriaid canu, yn Caniadau Seion.

## DIWYGIAD Y GWALLAU.

---

Drwg genym orfod hysbysu fod amryw o wallau argraffyddol gwedi dianc yn y gwaith; ond felly y mae. Y mae amryw o wallau ieithyddol gwedi dianc, a ganfyddir gan y Cymreigydd, a'r na chymylant gymaint ar yr ystyr; gan hyny nis nodir oll yn y diwygiad canlynol—megys yn tudalen 11 dywedir *llon* a *lleddf*, yn lle *llonnod* a *lleddfnod*,—tudalen 16, dywedir sain *b*laenaf, yn lle sain *f*laenaf—y *ddau* sain, yn lle y *ddwy* sain, a'r cyffelyb. Ymdrechir nodi y cwbl sydd o bwys, a chymered yr efrydydd ei ysgrifbin, a diwygied y gwallau yn nghorph y gwaith.

Tudal. 15, yn lle  dylai fod 

Tudal. 16, llinell 4 a 5 o'r gwaelod, yn lle *gymaint arall rhwng y ddau,* mewn rhai *coïpau,* darllen *gymaint arall ag ydyw rhwng y ddau.*

—— 22, llinell isaf, yn lle hanner *llon,* darllen hanner *ton.*

—— 23, mewn rhai *copïau,*

yn lle  dylai fod 

Tudal 68, angraifft 3, ban 4,






—— 70, ban 3, yn yr ol angreifftiau, dylai y ddau nod diweddaf fod yn grychnodau.

—— 92, llinell 2 o'r gwaelod, yn lle y *gelwir* arnynt, darllen y *sylwir* arnynt.

—— 96, llin. 11, yn lle corfanau *Cerddoriaeth*, darllen corfanau *Barddoniaeth*.

—— 96, llin. cyntaf o'r sylw, yn lle Un, *a*, dau, *a* thri, darllen Un *a* dau *a* thri.

—— 124, llin. 3, yn lle amgylchiad *an*neillduol, darllen amgylchiad *neillduol*.

—— 186, llin. 19, yn lle gwybodaeth *o*, darllen gwybodaeth *a*.

—— 198, llin 8 o'r gwaelod, yn lle *ffoeg*, darllen *ffoledd*.

—— 208, llin. 16 o'r gwaelod, yn lle *amlwg*, darllen *annghywir*.

—— 208, yn y cyfeiriad, yn lle *Geiriau* Charles, darllen *Geiriadur* Charles.

—— 210, llin. 2 o'r sylw, yn lle gwell *Cerddoriaeth*, darllen gwell *Barddoniaeth*.

—— 220, llin. 7 o'r gwaelod, yn lle *canu y wlad*, darllen *canu yn y wlad*.

—— 222, llin. 1 o'r sylw, yn lle *yr* anfoddlona, drallen *nas* anfoddlona.

—— 230, uwch y ban diweddaf o'r angraifft diweddaf, chwaneger *

—— 231, uwch y ban diweddaf o'r ail angraifft, chwaneger o.

—— 238, ban 1 o reol 6,





Tudal. 239, llin. 2 yn lle *blaenoriaeth*, darllen *beroriaeth*
—— 244, llin. olaf, yn lle yn *fuan*, darllen yn *fawr*.
—— 245, llin. 5, yn lle i *ben*, darllen i *beri*.
—— 251, llin. olaf dan I, yn lle *wrthddulol*, darllen *wrthddulliol*.
—— 2[illegible], llin. 2 dan III, yn lle *diweddnod*, darllen *[illegible]*.
—— [illegible], ban olaf o angraifft cyntaf,

yn lle



dylai fod



—— 259, rhwng y ddau angraifft, yn lle trydydd *lleddf*, darllen trydydd *lleiaf*.
—— 240, ail fan o'r isalaw yn yr angraifft olaf, chwanegea banig ar *e*.

---

—— 154, uwch ben Parotoad, Tarawiad, &c., chwanega Pen IV.
—— 157, yn lle Pen. IV. darllen Pen. V.
—— 160, yn lle Pen. V, darllen Pen. VI.
—— 164, yn lle Pen. VI, darllen Pen. VII.

DIWEDD.

J. M. JONES, ARGRAFFYDD, LLANIDLOES.

